# PERORIAETH AWEN,

SEF

# AWDLAU,

## ENGLYNION, CAROLAU

## A CHERDDI NEWYDDION.

AR AMRYWIOL DESTYNAU.

---

GAN RICHARD JONES,

*Erw, Llanwyndaf.*

NEU

GWYNDAF ERYRI.

---

Ser bore a ddwyrëynt
Yn llu i gyd ganu gynt;
Canu'n llon, loywlon eu hawdl;
Gawr floeddio gorfoleddawdl!

GORONWY OWEN.



*CAERNARFON:*
Argraphwyd a Chyhoeddwyd gan P. Evans.
1818.

*Gwerth Swllt.*

# PERORIAETH AWEN &c.

## *AWDL*

## MARWNAD

### *JOHN ROBERTS*, PEN 'R ALLT,

NEU

### *SION LLEYN*.

EFE FU FARW MAI 4, 1817.

---

PA ryw och sy'n peri aeth, —anhunawg,
I'n heinioes, ysywaeth?
Llawn gŵg—megys llen gaeth,—
O'i herwydd y mae hiraeth.

Hiraeth ar hiraeth yr awr'on;—galar
Yn gwelwi pob calon:
Mawr oerfel, y'mro *Arfon*
Beunydd, yma sydd am SION.

SION LL'YN—ei ddyfyn a ddaeth;—e dorwyd
Aderyn caniadaeth:—
Teimlo 'r wyf, megys cwyf caeth,
Fawr golled;—O! f'argyllaeth.

Argyllaeth sy' 'n awr o golli—seiniwr
Cysonawl ei ddyri;—

Briw, ny'ch i bawb o'n bro ni;
D'ai wenwyn i'n dihoeni,

Dihoeni, gwelwi mae'r galon—beunydd,
Heb wyneb cysurlon;
Nid cynnil ydyw cwynion:
Gwaedd a sail o guddio SION.

SION a fu hylwybr (syn yw fy alaeth,)
Diarab Awdwr, a dewr wybodaeth
I gywir ddeirwyn yr hoyw gerddoriaeth:
Y mwyn gywir eiliwr, mewn gwirolaeth,
Rhannu cerdd a'i rhin caeth—a hardd blethai;
E yn adroddai gyda medryddiaeth.

Medryddiaeth, tra helaeth at reolau,
A fu ddiwedriaith yn ei feddiannau;
Deallwr heniaith, ei ddull a'i rhiniau;
E enai ddidiawd, wiw, bylwydd Awdlau,
Gwych addysg, a chywyddau—mawleddus;
Un eiddganus, a hynod ei ddoniau.

Doniau gweddus, dan egwyddor—onest;
Gwr uniawn ei gyngor;
Hyd ammod pen ei dymmor
Ei aml waith oedd moli Iôr.

Iorai dygodd i'r digaeth—hyfrydwch,
O fredyr yr alaeth;—
Chwythodd i'r goruwchafiaeth,
A gadael oes gydol aeth!

Aeth a braw maith i'w Briod;—Ow! alar
O weled ei osod

Mewn bedd:—ac o hyn mai'n bod
I ninau gwynfau hynod.

Hynod yw ber ennyd oes
Yr urddawl, awyddawl weis;
Ddoe'n ddi nych, a gorwych gais,
A heddyw 'n gudd yn y gwys.

Yn y gwys, tradwys yw'r tro,—y dodwyd
Ein didawl, fwyn Athro:
Mawr yw'r graith! am roi i'r gro
Hen Eôs yn *Nyneio*.

*Dyneio* ow! ow! dwyn Awen—fanwl
I'th fynwes a idorlen;
Ti guddiaist un teg, addien:—
Och! i'r oes am Achwr hên.

Achwr hên, gwiw, addien a guddiwyd;
E liwr didawl, i lawr ei dodwyd;
Enwog leithydd, yn ddwfn ei gwthiwyd;
Ein bro ethawl, wên, bêr a waethwyd.

Gwaethwyd, a gwyrwyd ein goror—bwyllus;
Iaith, bellach, am gyngor:—
Ow! friw chwith; ow! afar chwedl,
I'n cenedl, am ein cynnor:

Cynor cainwedd,
Da fu hyd fedd;
Dyn ydoedd di anwadal,
I gynal prif-iaith Gwynedd.

Gwynedd gainwych, }
Lerw-wedd loer-wych, } urdd eres;
Ir-wedd orwych }

Collaist byngciwr,
Fedrus fydrwr, } o dy fynwes.
Arawd fwynwr

Mynwes oer, mi wn y sydd,—a mawr-wae
Yn amrywiol Wledydd;
Gwneir cofio, tra dalio dydd,
Am hwn, a'i lem awenydd.

Awenydd y'nhaer y wiwnef—hoyw-fron,
Yn ei hyfryd gartref,*
A dewislawn, frwd oslef
Yn seinio 'i fawl haeddawl Ef.

Ef a aeth dan gaeth gur,—ie i lawr
I haeddle pechadur:
O loesion y Person pur
E gawsom ryfedd gysur.

Rhyfedd gysur, y mawr fudd a gawsom!
Gwaed yr Iesu yn daliad gwiw drosom;
Yn arweiniad i bob rhai o honom,
Yn awr at fudd, fel yr etifeddom
Ei nodded Ef yn eiddom,—gwedi bedd;
A mad rinwedd ein cymmodwr ynom.

Ynom y b'o uniawnaf—egwyddor
Gweddi i'r GORUCHAF;
Ymddiried yn nodded NAF
Hyd ddaliad y dydd olaf.

---

**Dywedodd* SION LLEYN *wrth un o'i gyfeillion,* (D. DDU ERYRI) *ychydig cyn ei farwolaeth, ei fod mewn heddwch gydâ Duw a dyn: y mae hyn yn arwydd sicr ei fod yn y mwynhad tragywyddawl.*

# AWDL

AR

# HUNAN.

" *Uchel i ochel dichell,*
" *Yw Dofydd*; *cenfydd bob cell:*
" *Difai y gwel ddyn di-falch*;
" *A dyn balch edwyn o bell.*"

G. GANOLDREF.

DYRE awenydd dêr wyneb——yma
I amwyn diweirdeb;
Derch ar nawf, edrych er neb,
Anial-daith HUNANOLDEB.

Edrych ar bob rhyw oedran,—o'r henwr
Yr hynaf, i'r baban:
Ymdrechant, rhwysgant eu rhan,
Mor hynod am yr HUNAN.

Yn y nef gartref, bu gynt,—hên *Hunan*
Yn hynod ei helynt;
Yn ei phrif, lawn heinif hynt,
Uthr ammhwyll oedd ei thremynt.

Dyna'r lle, gyfle goflin,---ac antur,
Bu'n gyntaf ei meithrin;

E safai 'n dra chyssefin,
Bechod, a thrallod o'i thrin.

Ing, alaeth i'r angylion,---diarbed
Oedd derbyn y *Widdon*;
Balach, a chroes helbulon,
A thramgwydd o herwydd hon!

Cododd cynnwrf, twrf, terfysg,
O wyniau mall yn eu mysg;
Broch *Hunan*, a'i haflan hynt,
Ro'es iddynt ddi-ras addysg.

Y dewr-lu, gloyw-lu hardd glân,
Oera' dull yrwyd allan,
O'u hannedd gain, firain fad,
Och! syniad, achos *Hunan*!

Gorfu ar *Hunan* gurfawr,
O'r nef fro, lwybro i lawr;
Daeth i'r byd, dra ynfyd drwyth,
Ddihir-lwyth i'r ddaear-lawr!

Ebrwydd groesaw dan wybren,---odiaethol,
Pan daeth i'r ddaearen:
Adwyth i ADDA 'n *Eden*,
Afael heb ffael yn ei phen!

I Adda hîl eiddil oll,
Aeth yn etifeddiaeth fall;
Hên *Hunan* a'i hamcan hyll,
Tro'dd y Pwynt i raddau pell.

Dewr y llwyr daenodd drwy holl ryw dynawl,
A'i gorwibiadau, rai hagr a bydawl;
Afrwydd dremau, hen wyniau hunanawl,
Megys yr eryr,---ymgais arwrawl:
Lleibio,--hir fwydo ar fawl;---uchelwedd
Ei gwyliad dewrwedd am glod daearawl!

Edrych ei bannau drwy achau bonedd;
Eres y goryw ei hoyw rwysg eurwedd,
O yr ymerawdr, pen eryr mawredd,
Hyd i'r tylotaf, salaf ei sylwedd:
Ymdrechawl, gwrawl pob gwedd---am dani,
I'w chefnogi drwy wych ëofn agwedd.

Dewr odidawg yw mewn awdurdodau
Y mirain *Seddwyr*, a'r mawrion swyddau;
Euraidd weis gwiwdeg, mewn heirdd wisgiadau
Haelion ddanteithion, wresogion seigiau:--
Y bwydydd, a'r cerbydau,---*Hunan* rêdd,
Craff ei dullwedd, yn curo 'i phadellau.

Yntau 'r *Amaethwr*, un taer am weithio,
A chyfle odiaeth, sy'n ei chofleidio;--
Och, nerth ei awydd i'w chynorthwyo
O'i rym ynni bydd er mwyn ei boddio:
Gyr ei farch goreu a f'o,---mewn rhyfrys,
Ni ochel le dyrys i'w chludeirio.

Isel dylodion, sâl dioludawg,----
Oll mewn daliadau llymion, dyledawg;
Am air rhinwedd, y maent hwy mo'r enwawg
Drwy eu holl oesau, yn dra lluosawg:
Llywiant a threm alluawg,---hwy roddan t
I'r *Hunan* feddiant ei rhan yn foddawg.

Mor irwag ysgafn yw'r morwyr gwisgi;
Ofer ymdynnant yn fawr am dani!
Ewybr hwyliant hyd wyneb yr heli,
A geirw uchelgyrch,--rhuthro'r grôch weilgi:
Drwy *Hunan*--ow drueni,--wynebant,--
Mal hyn y byddant yn aml yn boddi!

O mor lliwus yw ei mawr alluoedd,
A'i rhwyf alathr yn y rhyfeloedd;
Heirddwych,enwawg, foddianawg fyddinoedd
Da addien, iesin, hyfryd ddinasoedd;--
Nycha y mawrion achoedd,--rheolant,
Uthr y llywiant yn gaeth ar eu lluoedd.

Mor wych yw pawb am eu rhan,---afaelwyr,
Am foliant yn gyfan:
Dirym a gwyd er mae gwân,
Dda henw iddo ei hunan.

Hi ydyw mammaeth anturiaeth taeru,
Anafawg anwes a chynfigenu,
Ynfydawg agwedd anfad a gwgu,
O amryw falais, ac ymrafaelu;—
Canwaith o'i barwaith y bu-- wneuthurwyr
Lle i *gyfreithwyr* alluawg frathu.

Awyddus, ymffrostus, ffraeth,
Eryres mewn *puroriaeth:*
Ymhlith *clerwyr*,-- ytwyr oll,—
Ei digoll weinidogaeth.

Rhyw agwedd rhyfedd, mewn rhan,--yw ei sail
Yn iselu 'i hunan,

Ar fedr i arall o'r fan
Ei derchafu 'n dra chyfan.

Ni erys hyd bys ar ball,---oni chaiff
Ei choffau gan arall;
Cwyd ei hun, cyhyd a all,
At yngan ei chwant angall.

Mae ganddi (nid surni sen)
Ryw lais wrth ro'i *elusen* ;
Llwyreddawg, ei holl roddion
A ddaw o ddeheulaw hon;
Hi ni rydd, ddim hanner wy,
*Elusen* o law aswy :---
O narth clôd hynod yw hon,
Orhwyddaf, yn ei rhoddion.

*Hunanol*, gan wŷn hynod,
A tydd hen gybydd o'i god.
*Hunan*, a'i chroes anian, sydd
Gryfaf lle b'o rhith grefydd.

Uchel-gloch, uthr och ei threm,
A chwyfdraws ei hucheldrem;
Goruch ei thybiau gwrol
At y nef etto yn ol ;--
Yn gyfan heb iawn gofiaw
Y drefn, ---bod yr angel draw,
A chledd taullyd,---enbyd iawn
I gnwd esgar gnawd ysgawn :
Gar ei lygaid cannaid cu,
Gwan obaith yw gwynebu.
*Hunan*, o'r ne'n wahanol,
A dry'n wir adre'n ol.

Er gwych ler, dewrder, ei dawn,---ac uched
Ei gwiw achoedd maethlawn,
Siomedig ei brig heb rawn ;---
Anwar hesg yn rhy ysgawn.

Hên aflan *Hunan* annuw,
Och wraidd dig, ni chreodd Duw ;
O ddiafl daeth ei natur ddofn,
Drwy awydd yn dra eofn.

Ei seiliau tewfost iseled DOFYDD,
A'i hoenion, daenawg, hirion adenydd ;
A dirywier yn llwyr ei dewr awydd ;
Llewyger anwes ei holl garenydd :--
Hardd canfod darfod ei dydd,---hwylusdod,
A da hynod pe b'ai ei diheuydd.

Ymgeledd rhyfedd i'w rhan
Gu ddynol, a ga'dd *Hunan* ;
Rhyw lydain arlwyadau,---
Acnles yn y fynwes fau !
Llygriad, o arw frad, i'r fron;
I giliau gwraidd y galon :---
I aflwydd, rhwydd ar ei hôl
Y denodd hon ryw dynol.--

Ti Duw ne'---Tad ein AWEN,
Ein Por, all agor y llen ;
Ynot ti, ein Rhi, mae rhan
I'n llenwi yn lle *Hunan*.

# *AWDL*

AR

# DDYCHWELIAD YR IUDDEWON;

SEF

*Testyn "Cymdeithas yr ERYRON."*

AWST 11, 1813.



TYRED tyfyrdawd tirion,---i chwiliaw
Ach helaeth *Iuddewon*;
Dyrch olwg drwy uchelion,
Di lys, ar y genedl hon.

Didor wawl, agor olygiad,---eur-wych,
Ar wedd eu dechreuad,
A'u cwymp i'r ogwymp di rad:—
Chwilia am eu DYCHWELIAD.

Eglwys hardd gymm wys ei gwedd--oedd Israel,
Ddewis-ryw ddwaeledd;---
Brenhines bydd, hyfryd hedd,
Yn gweini dawn ogonedd.

Gwiwbur o gysur hwy gaid,---hir amser,
O rym-serch yn ddibaid;

Pob buddiol reol wrth raid,
Dygynt i Dduw bendigaid.

Llaw Dduw, rhag diluw, dialedd,---yn oestad,
Fu'n estyn trugaredd;
Amddiffyniad, rhad wir hedd,
Drwy ymlid fu'n dra amledd.

Pan oeddynt flinion gaethion yn gweithio,
Dien lu fferyll, o dan law Phar'o,
Du arw boen adwyth, yn dir benydio,
A heb un golwg na ban i gilio ;--
Da lwydd rhag trawngwydd y tro,--galluawg
Y da'i nawdd enwawg i'w dwyn oddi yno.

Y goruwch awdwr, Ion, a'u gwarchododd;
Diau o'r adwyth eu da waredodd;
O dir anial fe'u hynod arweiniodd;
Y dewraidd ddu elyn draw a ddaliodd;
Diogel efe a'u dygodd ;--da ged
Mawr i eu gwared,—y mor agorodd.

Yn eu caled-fyd, blin adfyd odfa,
O dan oer athrist, ing-drist gyfyngdra,
Yn llwyr dylodion, fyrion o fara;
Gweigion ydoedd eu celloedd a'u cylla;--
Duw Ion a'i dirion nawdd da.--yn borthiant,
O'i wiwlwydd fwyniant, a wlawiodd *fanna.*

Hwy ddiogelwyd rhag eiddig alon;
Pur-wych eu dygwyd, fal parchedigion,
O diroedd anial, deheurwydd union;
O law dialydd i loyw dawelon.
Israel mewn gafael gyfion,--o gaeth rwyd,
A dda gynnaliwyd yn ddigonolion.

Er astrus rwystrau,
Dyrys flinderau, } gwarth enbydus,
Gwrthwynebiadau,
Digas eu dygwyd;
Dilyth eu daliwyd; } yn orhoenus.
Iawn eu harweinwyd,

O'i rad iawn ofeg y rhoe Duw nefawl,
Drwy ei hygarwch, yn hardd dragwrawl,
Da ang, er dyfyn y dengair dwyfawl;
Diau, dwfn addysg da a defnyddiawl;
A'r dynion mo'r waed unawl.—torrasant,
Garw groesasant, y geiriau grasusawl.

Hwy a dorrasant, yn eu dyryswch,
Y pur orch'mynion; digon o degwch
A roddwyd iddynt, oreu ddedwyddwch,
I fyw wrthynt, heb un ofwy erthwch:
Aethant mewn trachwant trwch,--i ddwyn ys-
O'r hyn y deddyw mawr annedwyddwch(tryw;

Syniaw a chwyddaw mewn masnachyddiaeth;
Parhau a dilyn pob rhyw hudoliaeth,
Mewn ofer, wyr-draws, ry-draws herodraeth,
A rhyw wag rodres ddiles addoliaeth;
Oriawg wedd--myn'd ar eu gwaeth,--lu halog,
Yngair Duw enwog, mewn anghrediniaeth.

Ow drueni!-- hwynt hwy a drywanwyd
Yn llesg, oeraidd; rhai'n oll a wasgarwyd;
O'u hyfryd derydd afar eu torrwyd;
O'r wlad wiw-bur, drwy gur, draw eu gyrwyd;
O le rhydd i lawer rhwyd,——dan gaeth iau
O fawr ddialeddau;--rhyw fyrdd a laddwyd!

Mawr anafus
Gwymp truenus, } egwyl irad;
A galarus
Archolledig,
Yn llygredig, } y deoliad.
A dielwig

Dacw'r Iuddewon fu haelion eu helynt,
(Ow / Ow! drych oernych yw edrych arnynt)
Heb dy na lloches; byw dan y lluchynt,
Drwy y dyddiau, diau a raid iddynt;
Gado'r wlad, gain-wlad oedd gynt--hardd gryno
A roed yn eiddo i rawd o naddynt.

Ar hyd wyneb pe gwnawn rodiana,
Drwy ynysoedd, holl dir hen *Asia*;
A chael enyd hir i chwiliana
Yn dra diwyd, awn drwy *Iudea*,
Y man eu gwelwyd gynt mewn gwala,
Rhyw lu nemawr a welwn yma:---
Nych yw'r hanes am ein chwaer hyna',
A aeth i lwyr-fall, oer-fall yn fa;
Alon oes-draws dàn elynastra.

Er dyfned, c'leted eu clwy,
Llydan ac archolladwy,
Dan nychdawd a bridawd bron,
Y trymion heint fu'n tramwy.

Dygwyd, e gadwyd yn gu
Fwynaidd, rai etto i fynu;
Da lwydd, mae'n arwydd yn ôl
Dewisol werth gwaed Iesu.

'Roedd hyn yn arwydd hynod
O ryw beth di feth i fod
Yn eu rhan, gan eirian Ior,
Dieisor wedi 'i osod.

E wiriodd Ion, a'i air oedd hael,--moddus,
Am weddill pobl Israel;
Addewidion fawrion fael :--
" Hwy ddaeant i'm hedd ddiwael."

Israel, mewn gafael gu-fodd,--yn helaeth,
Doeth ddarbodaeth Duw a'th arbedodd;
Disgwyl yr anwyl aur rodd--gan Dduw Ion,
Gwiw add'widion a ragddywedodd.

Mae cysur, wiwbur obaith,
Hynod yn dyfod ar daith;
Caiff Iuddewon llyrfion, llesg,
Rai dylesg wared eilwaith.

Diau, e ddodwyd da addewidion
Euraidd, iachusawl, yn hardd a chyson;
Mae arwydd ddiwael am yr Iuddewon,
Yn wir y dygir hwy'n waredigion,
Dan rad arweiniad yr Ion,--yn hardd blaid
I'w Naf a'i ddeiliaid, yn ufuddolion.

Dilythion brophwydoliaethau--'n addaw
Iddynt ragorfreintiau,
Y tynir er trwch tonau,
Hil *Jacob* o bob rhyw bau.

Llaw wych, oreuwych yr Ior—a'u cynnull
At y cainwedd drysor,

I'w dirion gannaid oror,
O diredd maithwedd y mor.

Deuant i'w gwlad fâd fu odiaeth ;—i lwydd
Eu *Holewydden* gyfaeth ;
Ai Brynwr, o'u cyflwr caeth :—
Diogel gadwedigaeth.

Rhyw ddrych rhyfeddwych a fydd,
Da fawl a dihefelydd,
Pan ddaw'r torfoedd, lluoedd llâd
Teg alwad at eu gilydd.

Ni roddwyd hyd er Adda,
Y fath fawl i'r dwyfawl Da;
Bydd gwresog, a serchog sain,
Oleurog ber arwyrain.
Llyma blaid mwy llym eu bloedd,
Cain adlais, na'r cenedloedd.

Hyfryd ddedwyddyd y dydd—y delo
Y dilyth lawenydd :—
Iuddewon hoffeiddlon ffydd,
A'u dyfal fawl i'w Dofydd.

I'r mâd iawn glymiad yn glau,
Yn unwedd brysiwn ninau ;
Ddinam cenhedloedd anwyl,
Deuwn, tynwn at wyl ;—
Daliwn ein hynod wiw-lef,
Rytel oes, er ei fawl Ef.
Gorphwys y'mharadwys rydd,
Ac Awen yn dragywydd
A gawn yn ddylawn ddilyth ;—
Canu heb derfynu fyth.

# AWDL

GWRTHWYNEBIAD

# *HONIADAU PABAIDD,*

AC

AMDDIFFYNIAD

# PROTESTANIAETH:

*Testyn "Cymdeithas yr Eryron."*



O! Am ddawn, yn diriawn deg,
I gu nodi'n gain wiw-deg,
Ar duedd, a gosgedd gaeth,
Pawb o 'wyddor PABYDDIAETH;
Dwyre i'm nerth, cain werth cu,
Yn wiw-bur i'w gwrth'nebu :—
Gwrolaeth gu arail wedd,
Bob pryd drwy y byd i'r bedd.

Bu'r byd bron i gyd yn gaeth,
Yn boddiaw hen Babyddiaeth,
A Christ'nogaeth yn gaeth gel,
Egwan, ysig, yn isel,
Mewn mawr erlid, llid a lladd,
A garw, amlwg, oer ymladd.

Bu yn *Rhufain* gywrain fagwraeth
Arab a boddiawl i'r Babyddiaeth;
Hir ddialeddu iw harddelvddiaeth,
Arw lidiawg-wedd o erledigaeth;
Gorlenwi o egr elyniaeth,—mawr lu,
I groes-dyn wgu ar Grist'nogaeth.

Ychwanegu afiach anogaeth,
A mawrhydri drwy'r ymherodraeth,
A oryw'n ddiles 'r hen addoliaeth;
Euro delwau o ryw hudoliaeth
Du agwedd;—erledigaeth,——oedd yn gref,
A llef oer oddef, a llofruddiaeth. *Rhuf.* i. 29

Oer y demhestl orywiwyd yma
Drwy ryw filain dra hir ryfela,
Duaf aethus ladd a dyfetha;—
Dewr bu'r tyniad o dir *Brytania*,
Hyd yr *Aipht* fawr, gurfawr wasgarfa;
Y cau wep oer-sawd, ac o *Persia*,
Erias y poenawd, i'r *Hispania*,
Arwa toliant ar yr *Italia*;
Yn ei thrigfeydd annoeth rwygfa;
Plaid Pabyddiaeth, (o arw-faeth yrfa
Draws gul oer-drefn,)drwy ysgelerdra,
Hell ei rhwyd-fwlch, enillai'i rhedfa.

Yr amherodraeth fu'n goddef yn gaeth
Y garw lanastraeth greulawn ystryw;
Rhai na fu afaeth ei dihenyddiaeth,
Oera rheolaeth, ar y rhelyw.

Gosgedd ammhuredd y'mhob
Teryll rai tywyll eu tyb;
Dull o nawdd nid allai neb
Droi grau heb hunan y Pab.

Bu arw lwydd obry ei law;
Addwyn ymostwng iddaw,
Nes gwneud y PAB, arab wr,
Hy lwydd yn ben rheolwr:——
Llywydd eglwysydd y glob,
Baen osgorodd, yn ben esgob.

Diwael ei rwysg yn deawr,
Lydan fodd, a'i Ladin fawr;
A'r gwrandawyr, dyl-wyr dall,
Diau, yn methu deall.

Honi a dal rhyw hen hudoliaeth;
Dwbiai a hwyliai dybiau helaeth
Heb un rhyw uain, mai mammaeth-duwioldeb,
Yn ei bywdeb, yw anwybodaeth.

Cyfeiliornad anfad yw;
Rhwyf ddadwrdd rhyfedd ydyw.
Och! yr olwg, a chreulawn,——
Ffolineb, dallineb llawn.

Eu daliadau, honiadau hynodawl,
Drwy eu gwŷn awydd yn dra egniawl,
I droi agweddiad arfaeth drag'wyddawl
O'r eiddo ei hun, i radd wahanawl;——
Hwy ddaliant, haeriant fod hawl,--yn ddilys,
O rydd ewyllys i arwedd ollawl.

Rhoi'r flaenoriaeth, hynodiaith enwedig,
I'r gwag, amhur greadur egredig;——
Ammhwyll, egr, adyn dirym, llygredig,——
Gwag yw ei ddadwrdd, a gogwyddedig,
Moeth hudawl, a methedig;——gwir nad oes
Traidd dda'n ei einioes ond drwy Dduw'n unig.

Agwedd heb weddu, gweddio byddynt
Dros y meirwon, a diras ymyrynt;
Egwan eiddiloedd yn gain addolynt,
Mair, a rhyw ddiles amryw arddelynt,
Daearawg waith,--dw'r, a gwynt,--beth meddir
A ph'le dywedir nad ffoliaid ydynt? *Rhuf.*i.22.

Am aur, cyfiawnhau'r noeth--a wnant wrth raid
Pardwn enaid o'r purdan annoeth.

Dyma dwysg o rwysg y rhai'n,
A rhyfyg Eglwys Rhufain;
Rhufain a fu'n hir hefyd
Yn ben dinasoedd y byd:
Cynfrodorion hon oedd haid
Arw wib orwyllt farbariaid.

Mawr y d'fyswch yn mrodir *Asia*;
Eres ynfyd o ymrysonfa,
Rhwng y ddwy chwaer daer am y dewra';
*Mahomeianiaeth* ar ei gwaetha';
Hen Babyddiaeth, anturiaeth taera',
Heb les, taenodd i *Balestina*,
A natur afiach i wneud trofa;
Drwy holl randir deryll yr *India*
Geirw Fonachod, a ga'ir fynycha'.

Yn amryw dir, gwir er gwaeth,
Mae boddwyr hen Babyddiaeth;
Ei sain-falch eres ynfyd,
Sy'n wir bron a boddi'r byd.

Y praw dinawdd, ga'dd y *Prydeiniaid*;
Mawr agwrdd drwy'r *Amerigiaid*,
A ffyrniccaf i barthau *Ffranciaid*;

Llwyra dialedd oll i'r deiliaid :—
Oer y driniaeth fu ar drueiniaid ;
Dyna'u lluddias o dan y lleiddiaid.

'Nol gwasgaru, lledu llid,
A rhyfel a hir ofid,
Dofwyd gwedd eu hagwedd hyll ;
Gwarch'wyd ar eu rhwysg erchyll ;
Er hyn, mae amledd ei rhif
Yn aros yn aneirif.

Mae rhyw gynnwrf, dwrf dirfawr,-trwm ydyw
Tramwyedig, pwysfawr ;
Rhawd ei hannuwdawd yn awr;
Ymlusgiaid yn aml esgawr.

Er nawdd i'w anhawdd wanhau,
'Mynodd ei lle mewn manau ;
Yn awr drwy ein talaith ni
Y giwdawd sy'n ail godi;
Herwydd hyn, eisiau rhyddhad
I reoli ;--rhyw alwad,
A swydd yn ein gorseddau,
Er gweithio'r egwyddor gau.

Boed trwy'n hynys ddilys ddadl,
Beunydd tra y b'o anadl,
Na ddel y gau ddiewfig wedd,
Eirias annuw, i'r senedd ;
Rhag ofn y gwelir rhwyg waith
I dorriaw hedd y dalaith.

Oddiwrth y ffin erwin haid
Dyger ni, Dduw bendigaid,

Rhag myn'd ar ol hudoliaeth
I foi o egwyddor gaeth.
Ni bu erioed, dan wybr, waeth,
(A throi pob ffol athrawiaeth,)
Na'r Babyddiaeth belaeth hawl,
Arw ei moesau, ormesawl.
Troi y gwir yn anwir noeth *Rhuf.* i. 25.
At benu eu tyb annoeth.

Symudant, yn siomadwy,--ogoniant *Rhu.*i.33
Duw gwyn anllygradwy,
I'r fath lun a'u heilun hwy;
Didawl yn osodadwy.

Dallineb,--wyneb annuw,---ow'r meddwl,
I'r moddus gywir-dduw
Dd'od y gwir, dda eirwir Dduw
I agweddiad y gau-dduw.

Fel hyn bu'r anhydyn haid,
Er ynnill llawer enaid :--
Pob ffiaiddiaf, drechaf drais,
Ac oerfelawg arw falais :
Hen falais, dyfais y diawl,
Oryw ei phlaid mor wrawl;
Am ei blin hyll ferwin fodd,
A'i thew drefn, rhy-faith adrodd.

E ddaw y dydd, hafddydd hin,
O rasol dymher iesin ;
Try'n hygar, a gwâr y gwyllt,
A geirwon fleiddiaid gorwyllt ;
Ac etyb pob rhan gytun
Bod, yn wir, y byd yn un.

Yr holl gau dduwiau oddi ar,
Yn ddiau ant i'r ddaear;
Heb un sain ond y gain, gu,
Ddewisawl grefydd Iesu,
Arglwydd nef, daear hefyd,
Pen rhaith y gyfraith i gyd.
Hynawd y b'om, drwy'n heinioes,
Beunydd am grefydd y groes.

Llafurwr ynnill fara;
Gwynfyd i ddiwyd ydd â.
Llafuriwn, a'n holl fwriad,
Yn nghrefydd Duw'n llywydd llâd;
Cawn yn beraidd euraidd wyl
Fwynwych yn y nef anwyl.

O! am fyd, gwynfyd a gwawl,
Yn nifer y côr nefawl;
Heb lid, nac erlid, nac aeth,
Gelyn, na phoen, na galaeth :---
Awenydd, yn y wiw-nef,
Ddi lys, i'w addoli Ef.



# AWDL MARWNAD,

NEU

GOFFADWRIAETH

AM Y

## *Parch.* THOMAS CHARLES, *A. B.*

## O'R BALA;

DYFAL WEINIDOG YR EFENGYL,

A

*Dihafal Ddysgawdwr amryw Ieithoedd, ond yn enwedig Iaith y Cymry:*

Diweddodd ei daith ddaearol, Hydref 5, 1814.

"*Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig; ond enw y drygionus a bydra.*" SOLOMON.



OCH! irad trymaf, och oerion,—lwythawg,
Alaethus newyddion;—
Och! enyd, aml achwynion;
Och! friw yw, i'r iachaf fron!

Och! oerfel nych i ARFON;--och dori,
Uwch *Derwydd*, -pen MEIRION:--
Och *Wynedd* am ei chanon,
A chwyn syml, och i ni son!

Oer alaeth, am ein rheolwr--gwiw-ddoeth,
A gweddus hyfforddwr;
Caled och -ac wylo dw'r !--
Gladdu ein prif goleddwr !

Niwl oer gwyll na welir gwên;
Braw i'n gwlad fal rhwygiad Rhon,
Am ein dynawl rad awl Rên,
Tomas Siarl, ni's taw i'm son !

Y gwr pereiddiaf gariad,
I ddylion bu'n diron Dad:
Diau e fu hyd ei fedd,
Anwylwedd yn ei alwad.

Ceryddwr cywir addwyn;
Celtydd areilydd yr wyn,
O'r anial dir, yn loyw deg,
A gofeg diwyd gutwyn.

Arawd lafurwr, diwael ei fwriad,
Yn y gwirionedd, iawn-gu arweiniad;
Enwog un hylwybr yn ei gain alwad;
Dinam dda agwedd dawn ei ymddygiad;
Gofal teg, ie, fel Tad mewn cynghor,
Ac i hardd agor cywir ddiwygiad.

Gloyw-for ydyw ei gu lafur odiaeth,
A'i ber iaith rywiog, bybyr athrawiaeth:
Gair y Duw agwrdd er gwaredigaeth,
Agorai'n hoyw-lan, gu eirian, helaeth;
Mynegydd llym annogaeth,—trefn gyson,
Oreu-wych dirion, yr iachawdwriaeth.

Mawr y golud i'r Cymry gwiw-lon,
Gael yn rhywiogaidd glau anrhegion;
Hydraeth enwawg eu dewr iaith union,
Yn garuaidd gan y gwr eon;
Gweinydd, a llywydd, gwych llon;—mewn cyn-
Llwyddai beunydd ei holl ddibenion. nydd,}

Dewrwych ydoedd ei ymdrechiadau
Diwyd addwyn, ar hyd y dyddiau,
I arwain addysg,—drwy rinweddau,—
I dylodion f'ai mewn daliadau,
Iselion, heb gysuriau;—yn ddiles,
A gwedd eres heb Egwyddorau.

Hwn a gododd yn gedawl,—waisg alwad,
Ysgolion SABATHAWL,—
Er dwyn gwrth-ddrych gwych i'r gwawl,—
Y gweddus air tragwyddawl.

Plannydd, areilydd rheolau--dethawl
CYMDEITHAS y BIBLAU;
Gwyliedydd ei gwaladau,
Hawddgar, clwn, oedd y Gwr clau.

Da llanwyd trefnau dillynion,--doeth-wych,
Y gymdeithas dirion:
Gwelwyd mai SIARL o galon,
Oedd pennaeth a thadmaeth hon.

Ymhob gwaith buddiol, llesol, lliosawg,
A fu ddaionus, efe oedd enwawg,
Yn diwyd ddeol, nid ydoedd ddiawg;
A'i foddion odiaeth, ufudd weinidawg,
Dyfynwr, a chledd dau finiawg--effro,--
A wnai friwio calonnau afrywiawg,

O'i gu fruned, efe gyfranodd
*Eiriadurau*, i rawd a yrodd;
Gemau hydrum, a theg ymadrodd
Gwirioneddawl, hygar weinyddodd;
Trwyddedawg y traddododd--heirdd dlysau;
Amryw raddau i'r Cymry a roddodd.

Paun dihafal,
Difeth, dyfal, } wiw ragorion;
Eirieg arial,
Di anwadal,
Ufudd ofal; } y rhai gweinion.
Aer i gynnal

Ysgrifenydd,
Myg areithydd, } di gwerylon:
Deg areilydd,
Hynafiaethydd,
A chyfieithydd; } enwawg wron.
Iawn gyweirydd,

Dwfn hanesydd,
Urddain Ieithydd, } i gysulion:
A gwiw seilydd
Naturiaethydd,
Cywrain weithydd, } hynaws galon.
Hoenwas gweilydd,

Llon benadur llawn boenydi,
Mawr o'i dori, mur awduron;
Braw, a dolur, briw di eli,---
Oer y gweli ar y galon.

Oesau'n toli
O bryderi; } o'r gwaelodion;
Hir galedi

Dwys gawodi
Dagrau heli; } a brad dwyfron!
Berwyd difri,

Adeiladwr tra diwael ydoedd,
Diathrodawl, da ei weithredoedd;
Rho'i hanesion amryw ynysoedd,
Bryniau mireich,--wybren a moroedd;
Ac eilchwyl, y ser, a'u cylchoedd;--a dal
Mirain ofal am air y nefoedd.

Blaenor dilasg, fu'n gweddus gyhoeddi
Dibewyd efryd; mae'n fud a difri,
Bereiddia mynwes dan bridd a meini;
Mangre anhydyn, mewn gro yn edwi:--
Y tyner dafod heini,--oedd ddiffael,
Ei seiniad diwael, ow, ow, sy'n tewi!!

Agro yw dwyrudd am y gwr dewr-wych;
*Haul*, a *Lleuad*, ni oleu eu llewych;
Y ser eilwaith, bellenau siriolwych,
A ballasant, wynebau llioswych;—
Yr wybren wydr wen, hydr-wych—a dduawdd
Y niwl a doawdd ein hwyl deheuwych!

Dylwythawg gam rwysg i dalaeth Cymru,
A barodd i leirw-weilch brudd alaru;
O! wenwyn ofid, mae yn anafu;—
Gwraidd y fynwes sy'n awr yn griddfanu:
*D*u-loes i amryw deulu,—fod parchus
Syw wron medrus, is âr yn madru!

Argyllaeth oer o'i golli,—dynn ofid
Anhafal bryderi;——

Galaeth i fron,—a gweli;—
Saif y loes yn ein oes ni.

Colled galed, a gwayw-lef,
Oll i ni:—ynnill y nef:——
Aeth o'r byd newynllyd, noeth,
Wr hyddoeth, iw aur haddef.

Yn lle croes, chwerw-oes a chur,—
Nefawl goron dirion der;
A derbyn ei hydyn hur,
Heb erwan nych,—gar bron ner.

Tra b'o cylch wybren glaerwen, ddisgleiriawl,
Haul, Lloer, a ser,--holl lu awyr siriawl;
Mor, a daearen,--a muriau durawl,
Chwyl-drem anadl, ucheldir, a maenawl:--
Tra b'on sefyll gwyll, a gwawl,--trai, a llanw,
Cofir da enw y cyfa wr doniawl!

Er rhoi du orchudd ar ei dywarchen,
Mewn anolaith,--addoer-laith ddaearlen;
Ei yspryd hedodd, llywiodd yn llawen,
Ar urdd engyll, i oror ddiangen,
At ei wych, burwych, hardd ben,--yn ebrwydd,
I gaer wych hylwydd sydd goruwch haulwen!

Lle nad oes beroes, na bariaeth,--na gwae,
Nac un trangcedigaeth,--
Eiddig lid, gofid, nac aeth,
Lledrud, nac anllywodraeth.

Bro gedawl, ber, gauadwy,--heb un ing,
Heb wân Angau'n tramwy;--
Heb garchar,--heb wyg orchwy,
Heb fyd meth;--heb ofid mwy.———

# HYSBYSIAD.

*Hawddgar Ddarllenwyr,*

YN gymmaint ac i mi, drwy annogaeth Cymdeithas Anrhydeddus y *Gwyneddigion*, eich anerch â'r Awdl ganlynol, yr ydwyf yn hyderu na bydd i'r cyhoeddiad o honi beri niweid i neb, yn y mesur lleiaf; ond, yn hytrach, eu diddanu a bywiogi eu serchiadau. Nid anfuddiol ydyw cadw côf am ein Hynafiaid dewrion, a ymdrechasant am eu tir a'u Rhyddid.

Yr ydwyf yn trosglwyddo y gwaith hwn dan eich ystyriaeth, gan obeithio nad edrych neb arno â chilwg cynfigenus; ond, pawb gyd â hynawsedd cyfatebol i'r gwendidau sydd ynddo: Hyn yw dymuniad eich gostyngeiddiaf wasanaethwr,

*RICHARD JONES.*

# A W D L

AR DESTUN

## Y GWYNEDDIGION*

*I Eisteddfod Llangefni, Hydref* 11, 1816.

SEF

HAEDDEDIGOL GOFFADWRIAETH

AM

# *HYNAFIAID y CYMRY*,

A YMDRECHASANT Y'MHLAID

## RHYDDID.

"*O'i phlaid yr hen* Geilltiaid *gynt,*
*Diddwl anorfod oeddynt;*
*A'u harfau yn gwau mewn gwynt,*
*A dynion marwol danynt*"
*D. Ddu, Eryri.*



ADFYWIA, hêd fy AWEN,——o'r anterth
I'r entyrch ddisgywen;
Trwy addoer niwl, traidd i'r nen,
O'r obry, fry i'r wybren.

Fy Nuwies gynnes, gannaid,--taen eur-chwedl,
Tyn orchudd dy lygaid,--
Chwal raith rwym,--chwilia wrth raid,
Nifer ein heirdd HYNAFIAID.

Gwrolion yn nydd goreilid--afar,
Fu'n dofi traws erlid;

**Barnwyd mai'r Awld hon enillodd yr Ariandlws*

Rhwygwyr dôl pob rhy-cgr did ;
RHEIDDWYR yn nheyrnas RHYDDID.

Dyger ein gwiw, barchedigawl,--dirion
Goftadwriaeth haeddawl;
Eu doeth fryd diwyd heb dawl,
A holl werth eu llaw wyrthiawl.

Heb Ryddid i bereiddio--y dalaith,
A'i dilys arwisgo,
Trom haint yn lle braint i'n bro ;--
Dynoliaeth, diau, 'n wylo !

Dwy Ryddid sy'n darweddu,--heb doliant
Bob dilesg weinyddu ;
Dan ben y ddwy gangen gu,
Gwyneb pob braint sy'n gwenu.

Goleudeg yw 'n Rhyddid gwladol--cyferth,
Ac hefyd crefyddol :
Bro ddi nych,--heb radd yn ôl,
A phenaeth ymddiffynol.

Mawr-wae gynt i'r GOMERIAID--anhyffordd
Yn niftyg blaenoriaid :--
Chwerw aflun y bu 'n ddi baid,
Eu triniaeth, gan estroniaid.

Y SCYTHIAID,* dryg-weis caethion,-di archeth
Pa'nd erchyll elynion :--

---

**Pan ruthrodd y* Scythiaid *ar y Cymry, yr oeddynt yn trigfanu yn ngorllewin-ogledd Asia leiaf. Cenedl farbaraidd ysglyfaethus ydoedd y*

Teryll i'r Cymry tirion,
Gnûd leddf, a fu 'r genedl hon.

Y Cymry felly fu ollawl--gaethion
Dan fygythiau hyrddawl;
Drwy lid eu herlid o'u hawl
Oll, a'u dodi 'n alldudawl.

Eu bwriad oedd, heb eiriach,--o'u drygfyd,
Am drigfan helaethach,*
Yn brawf hedd,--mewn bro f'ai iach;
Lle i'w noddi 'n llonyddach.

Gwawr odiaeth, lu goradain,--y dwthwn
Y daethant i Frydain,
I weled gwedd y wlad gain,†
Fawr harddwch, hen fro urddain.

---

*Scythiaid, yr un genedl a'r* Pictiaid *o'r dechreuad oeddyut.*

* Y *pryd hyn yr oedd y Cymry wedi cael eu hymlid i Thracia, yn agos i'r fan lle mae Constantinople yn awr; trigasant yno nes eu myned yn rhy luosog, a chymerasant eu taith tu a'r gorllewin, i chwilio am breswylfeydd newyddion, a helaethach. Gwel Hanes Crefydd Y'nghymru, tu dal.* 3

† *Tybiodd y Cymry yr olwg gyntaf a gawsant ar Ynys Prydain y gallent fod yn fwy diogel ynddi nac un wlad arall a wel'sant, herwydd fod y mor yn ei hamgylchu: Y Cymry a diriasant yn Ynys Prydain gyntaf, o ddeutu mil o flynyddau cyn geni Crist*

Ond dyrus fu 'n ol tiriaw--i'r ynys
Arianwawr a hylaw;
Arddelid llid ar bob llaw,
Heb Ryddid i lwybreiddiaw.

Chwyddant yn anfucheddol,--ac afrwydd,
Heb gyfraith na rheol :*
Prysur i wneuthur yn ol
Eu gallu, 'n wyrawg ollol.

*Prydain*§ wyrthiog oedd enwog ei ddonian,
Wele 'i dirion-wawr, hylaw darianau,
Accw i FRYTHON yn gosod cyfreithiau,
A dwyn yr ynys o dan hoyw riniau :--
Llaw Rhydid yn lle rhwydau,--mor faethlon,
A dysg weithion, yn Dywysogaethau.

Parhaol loyw-drefn y pur lywodraeth,¶
Bu ddaionus heb iddo wahaniaeth ;
Yn hylaw i dreuliaw da reolaeth,
A hyfryd arwain rhag croes fradwriaeth ;
Dwyn elwch a dynoliaeth--croesawus ;--
Byw yn haelionus heb un elyniaeth.

---

* *Nid oedd un math o reolaeth wladol yn mhlith y Cymry y pryd hyny, ond pawb yn ol ei allu, &c.*

§ Prydain ap Aedd Mawr, *yr hwn a osododd gyfreithiau gyntaf i'r Cymry, ac a ddosparthodd yr Ynys yn daleithiau, a thywysogaethau, ac a'i galwodd ar ei enw, yr hwn enw sydd arni hyd y dydd heddyw.*

¶ *Parhaodd y llywodraeth hon yn dangnefeddus ynghylch* 900 *o flynyddoedd, hyd nes daeth* Iwl Caisar *yma i orthrymu.*

Y Rhifyddion,
Yr Wybryddion, } hynod raddau:
A Derwyddon,

Pob amcanion,
Yn heddychlon } o'r meddianau.
Rym i ddynion

Yn yr hyfryd ddedwyddyd, a diddig
Fyd di alaeth, daeth yn adwythig
I gau ar fwyniant;--y gwyr Rhufeinig,
Mal bwystfilod, yn hynod wenwynig;
I Frydain urddain, mewn oerddig--dai'r gwyr,
Hyll aed y bradwyr, mewn llid berwedig.

*Caisar* atgas, gan ddiras gynddaredd,
Teryll ei hygyrch, mal tarw hyll agwedd;
Mynai 'r ynys, a mwynhau ei rhinwedd,
A brwydo 'i deiliaid mewn brad a dialedd;
Anrheithio'u gwlad drwy nerth ei gledd-deufin,
Ow! yn dra gerwin, heb un drugaredd.

Yna *Caswallon*, gwron rhagorawl,
Gyda ei Naredd, a godai 'n wrawl:
*Goronw, Tudur*, dau fur difyrawl,
*Rhydderch, Madog*, gwyr enwog cywreiniawl;
Gyrasant y gwr gwrysawl--ar ffo,
A hanastr yno i'r llîn estronawl.

Bu awr dawel yn ol bradwyaw
(Llaib y treisiwr, oll i'w betrusaw)
Megys arwydd i ymgysuraw,*

---

* *Bu dawelwch am ychydig yn ol ymlid* Iwl Caisar *ar ffo*; *ond nid yn hir.*

Ac ennaint Rhyddid gain yn treiddiaw
Yn anwyl i eneiniaw -archollion
Bradau geirwon, wedi brwd guraw.

Er cael yn ber dda wychder heddychdod,
Heb frad gadau âg arfau i'w gorfod;
Tyfant mewn cythrawl, bostiawl drybestod,
Fel anurddain, ie, filain hyrddod :——
Du-farn oedd raid ei dyfod--oll i ben,
Oer dynghedfen o'i diriaid anghydfod.

*Gloyw Caisar* yn anwar a ennynawdd
Yn frwd, i Frydain a frad fwriadawdd;
Am ei oer helynt a ymwrolawdd
Yn gyrch hybyr, y gwladwyr a gludawdd;*
Ei aerwyr oll a yrawdd--i'n hynys,
Lu annilys yn filain a hwyliawdd.

Y cain filwr ardderchawg *Cynfelyn*,
Yn ddiarbed amcanodd i'w herbyn;
Yn nyddiau ffwyr hwn oedd dda offeryn,
Ni bu waelaidd yn wyneb ei elyn:
Y'mhob modd hoffodd ddiffyn--pob cyfraid,
Y gwâr ddeiliaid oedd gywir i'w ddilyn.

Cyrau 'n tir yn wir a wnaed,
Na bu 'r wedd i neb erioed;
Rhyfedd! yn gorwedd mewn gwaed,
Lu di rif, heb le i droed!!

---

* *Fe gynnullodd* Gloyw Caisar *y rhan fwyaf o wyr ei wlad ynghyd, i edrych pa fodd y medrent ddinystrio Brydain: dywedir fod ei gwsg wedi cilio oddiwrtho gan bryder ynghylch rhyfelyddiaeth.*

Yn y trinoedd dygant yr ynys,*
Oedd ddiachrwym, dan eu nawdd echrys;
Egwyddori gwedd ddyrys--heb arbed;
Cam ro'i dyled y Cymry dilys.

Trinoedd a'u difroedd dyfryd;
Aml gadau mewn bradau brwd;
Lyw mael-maith *Dyfnwal Moelmud*,§
*Caron*, *Eudaf* glwysaf glod,
Rheiddwyr y'mhlaid eu Rhyddid;
O'u llaw gain y deilliai gêd,
Uthr amwyn ddydd gorthrymiad.

A *Buddug*¶ mewn adnabyddiaeth--moesawg
O'r ormesol driniaeth;
Ymladdai am lywyddiaeth
Ei gwlad, o'r amgylchiad gaeth.

Diffynawl, radawl waredydd--y caid
*Lles ap Coel* ein llywydd:†

---

* *Dyma'r pryd y dygwyd Brydain gyntaf dan deyrnged i Rufain, ac y bathwyd yr arian a delw* Caisar *ar un tu, a'r Elephant y tu arall.*

§ Dyfnwal Moelmud *a arferodd bwyso pethau gyntaf i'w gwerthu, ac adnewyddodd y cyfreithiau oeddynt wedi myned yn llygredig; efe oedd y brenhin cyntaf a wisgodd goron o aur.*

¶ *Cadpen-wraig oedd hon, a wnaeth araith foesol wrth ei chyd-wladwyr, gan beri iddynt gymmeryd calon, ac arfogi, i daflu ymaith yr iau gaeth oedd yn eu gorthrymu.*

† Lles ab Coel *oedd y brenhin cristionogol cyntaf yn Mrydain.*

Gwir yw, *Meurig ab Gwerydd*,
Lywiwr dewr fu lawer dydd.

Mor eofn fraisg *Merfyn Frych*
Eirf-draul, a *Gwrgant Farfdrwch*;
Gwawl-gais *Aneurin Gilgoch*,
Am Ryddid bernid nid bach.

Hardd biler cywir oedd *Beli*,--a *Bran*,
Yn breiniol arfogi;
Araulwyr fu 'n rheoli,
A hygar naws, ein gwyr ni.

Er cyrch, holl ymgyrch eu lles--i ddifa
Annioddefol ormes;——
Y gâlon trychion eu tres,
Yn llenwi mewn hyll anwes.||

Y BRYTHON eon, mewn awydd--gwerthyr
Gael gwithod eu cerydd:
Ymrodiant am waredydd,
A dorai 'r gau oer iau 'n rhydd.

Yn gadr eon-wych, un *Gwydyr** enwog,
Deheu-wych rodiwr, gyd â *Charadog*,§
Llawdd i ryfel, a'r llywydd *Aritog*;

---

|| *Er cymmaint oedd y Brytaniaid dewrion yn ddinystrio o'u gelynion, yr oeddynt yn llenwi beunydd, megys heidiau o wenyn.*

* Gwydyr *brenhin Brydain a ddechreuodd dynu i lawr y deyrnged mewn rhanau o'r Ynys.*

§ *Dywedir mai* Caradoc *oedd y rhyfelwr dewraf a fu ar faes y gwaed, yn y rhyfel rhwng y Brytaniaid a'r Rhufeiniaid; dywed rhai ha-*

O ymgais erfawr, y myg-weis arfog,
Dirwanu 'r ieuau dreiniog--a wnaethant,
A gwyro llwyddiant y gwyr lluyddog.

Enwog *Garadog*, un cywir ydoedd,
Paun fu hynt arwr penaf ein tiroedd,
Bu Udd enwawg i rwygaw bydainoedd
Y gelynion a ddeuant i'n glanoedd ;
I'n cenedl, braw chwedl broch oedd--ei golli,
Fu lyw i w noddi naw o flynyddoedd.

Bu, 'n ol rhyfelu 'n filain,--wawr heddwch,
A Rhyddid y' Mrydain ;
A bwrw 'r cledd oer wedd i'r wain,
Ac arafu gwyr Rhufain.*

Heddychawl, fwynawl drigfanau,--ni chaid
Ond ychydig ddyddiau ;———
Byr ennyd i drin breiniau,
Y bu'r hedd hwn i barhau.

Dadrys yr ynys i'r iawnwedd,--nid allant
Gan dwyllwyr, a'u trawsedd,
A diriant yn eu dewredd,
Yn rhawd i ddifwyno 'r hedd.

Pictiaid,† dihiriaid teryll,
A Saeson ffeilsion ar ffyll ;

---

*nesion mai* Caradoc Freichfras *ydoedd, ond* Caradoc ab Bran *oedd ef.* Gwel Hanes Crefydd Ynghymru, a Camb. Biog.

* *Wedi i* Gwydyr *a* Charadoc *dynu 'r deyrnged i lawr, darfu'r rhyfel a'r Rhufeiniaid.*

† *Y Pictiaid a ddaethant o Scotland, ac a ddifrodasant y rhan fwyaf o ogledd Cymru.*

SCOTIAID, anhoff haid yn ffest,
Llawn orchest--lluon erchyll.

Go anhawdd i'r Cymry gweinion, -dylesg,
Oedd dal i bob estron ;
Gormeilwyr, treiswyr trawsion,
Yn dileu 'r genedl hon.

Ond ein gwrolion, dan y goreilid,
A fywiog weithiant er a fygythid,
I gadw 'u preswyl gain, anwyl, gynenid ;
Treiddiant, a dainiant bob rhyw gadernid ·
Ni bu'nt lwfr,--wynebant lid--heb ffuant;
Hwy gyd-ymroddant eu gwaed am Ryddid.

Yn y blin aerwedd ar ein blaenorion,
O fewn y tywydd hwy fuant eon;
*Gwrthefyr*, *Emrys*, ddilys urddolion,
Yn dyrwygaw, ac *Uthyr Bendragon:*
Profwyd ymdrech ein prifon--yn werthiawg
I'n bro dylwythawg, wobrau dilythion.

*Garmon*, a'i lewion loyw-wyr--a orfu
Heb arfog waith milwyr ;*
A thair bloedd gyhoedd y gwyr,
Troesant yn ol y treiswyr.

*Nathan Llwyd*, trwy orddwy trin,
Gyd â'i gâd fel gwiwdeg un :--

---

* *Pan oedd y Pictiaid a'r Saeson yn goresgyn yn agos i'r Wyddgrug*, Garmon *a'i wyr a'u cyfarfu, ac a waeddasant Aleluia dair gwaith, nes dychrynodd y gelynion a ffoi heb dynu cleddyf.* Gwel Hanes Crefydd y'Nghymru.

Llew eurwych oedd *Llywarch Hen*,
Yn ei ddydd o dan nawdd Ion.

A'i feibion* oedd ddiwydion odiaeth,
Yn glew daro dros eu gwladwriaeth;
Hylaw, trylew y'mhlaid rheolaeth,
Trwy ofalon gan lid rhyfelaeth;
O flaen cledd sobr wedd a saeth -safasant
(Drwm arwiliant) hyd awr marwolaeth.

*Arthur* gleddyfwr, heliwr ei alon
Oedd o'i faboed ;--*Cynedda*, a'i feibion
A'u cyd welliant ; *Dyfrig*, *Cadwallon*,
*Cadfan*, *Cadwaladr*, ein gwaladr gwiwlon :
Trechu'r bleiddiaid trychion--aml dro wnaeth-
Hwy a'u gwasgarant fal gwyw ysgyrion. (ant,

Y Saeson lleddfon, mewn llid,--a ddygodd
Ein diddigus Ryddid ;———
A'n Coron wedd brydlon brid,
O'n gafael er ein gofid !

Yr oedd awch-hylliad eirw ddichellion,
Dias oesawl, y'mryd y Saeson,
I flin wyraw ein prif flaenorion,
Eu maeddu, a mwynhau eu moddion ·
Llaweroedd, drwy'r Cyllyll Hirion,-o'n gwyr,
Penaf aerwyr, a gwympai 'n feirwon.

Daethant, megys cymdeithwyr,—yn foesawg,
Lwyreddawg larieiddwyr ;

* *Dywedir i bedwar ar-hugain o feibion* Llywarch Hen *syrthio ar faes y gwaed.*

Och ! i reddf gynneddf y gwyr,
Eiddig, fwriedig fradwyr.

*Eidiol Gadarn*,† hynodol geidwad,
I'r rhai hyny a ro'i wahaniad ;
Chwe-chant o'r gwyr, geirw-wyr di gariad,
Â thrugain, yn y mawr-boeth rwygiad :—
Dyrnodd hwynt (mae rhai'n dirnad, --gyd â
Fer ysgyren, —bu fawr wasgariad. (phren,

I frwydo Mon, hardd frodir,—gwedd alaeth,
Daeth Gwyddelod dihir :
I'w lluddias, cu-was cywir
Lyw hedd,—*Caswallon Law Hir.*

Drwy ruthrau, beiriau o byllt,--llew alathr,
*Llywelyn* ab *Seisyllt* ;
Rhag gyrth ffriw echwyrth ffrochwyllt,
Mor dda in' oedd *Merddin Wylli.*

Gwr hoffwych ydoedd *Gruffydd--Llywelyn*,
Drwy 'i holl alwad beunydd :--
A *Rodri Mawr*, haelfawr rhydd,
I'w genedl a fu'n gynnydd.

*Hywel Dda*,‖ fal haul i'w ddydd,--a ffrwynai
Wyr ffreinig aflonydd,

---

† Eidiol Gadarn *a laddodd* 660 *o benaethiaid y Saeson, amser brad y Cyllyll Hirion, gyda throsol, medd rhai ; dywaid eraill, mai gyd ag ysgyren o bren.* Gwel. Camb. Biog.

‖ Hywel Dda *pan oedd llawer o annhrefn a gasglodd benaethiaid y deyrnas ynghyd, ac a osod-*

I gadw 'n ol gwiw reol rydd,
Rhag afrad a rhwyg efrydd.

*Gruffydd* ab *Cynan*, wiw eirian arwr,
Hir ysbaid didawl, a *Rhys* ab *Tewdwr*,
A *Gruffydd* ab *Rhys* ddilys arddelwr,
A *Rhys* ab *Gruffydd* dda lywydd, loyw-wr:
*Rhys* ab *Tomas*, da syw dwr,--cadernid
Ei wlad a'i ryddid, hylaw darweddwr.

*Urien* ein addien noddwr,
*Owain Gwynedd* ddewrwedd wr,
I gadw 'i wlad lesad lwys sail,
Glyw nid ail *Owain Glandwr*.

Mawrgais *Madog* a *Morgan*,--hwy godant
Gyda *Maelgwn Fychan*;
Rhag i haid Gwilliaid a'u gwân,
Gloi dorau eu gwlad eirian.

*Owain Cyfeiliog* fu'n cwyfo 'i elyn
Yn ddiwael hylwydd, a'r ddau *Lywelyn*,
Gywiraidd hoff wyr a garodd ddiffyn
Eu gwlad wiw eur-lwydd, drwy galed erlyn;
Bradychiad y sad weis hyn,—trist golled;
Och! arw-wawr drymed y chwerw oer dremyn!

Pan dorwyd ein penau dewrion,—degwyr,
Y dygwyd ni'n gaethion,
Pa ryw wedd sal, prudd yw son,
Yn astrus, dan iau estron!

---

*odd gyfreithiau, fel y dygwyd y llywodraeth gymysglyd i Ryddid a thangnefedd.*

Gwyr dewrion, doethion, i'w dydd,—fu ddilwfr
I ddal y wir grefydd;
Heirddion ddibenion, beunydd,
I ddidor berffeithio'r ffydd.

*Lleirwg* enwog fu'n llawer o gynnydd
I wychion amcanion cryfion crefydd;
*Bran* a *Dyfan** yn bur iawn i'w Dofydd,
Drwy y gorthrymawl a diwawl dywydd;—
Pybyr ddiffynwyr y ffydd,—gosgorddion,
Wir oleuadon i amryw wledydd.

Ac *Edeyrn* fywiog awdwr;
*Elian Geimiad* wiw-fad wr;
*Cystenyn* lerw-ddyn di lid,
Am Ryddid—hoyw ymroddwr.

Rhwydd orwych oedd *Rhydderch Hael*,
A *Dunod Fawr* a dawn hael:
A *Chadfan* wr glân hir glod,—
Tra hynod wyr tirion-hael.

A *Gerallt* yn gu eirioes,
Gwr hyf yn rhyfel y groes,§
Dan alwad a rhad y Rhen,
Yn dra llên drwy ei holl oes.

---

* Dyfan *oedd y merthyr cyntaf erioed yn Nghymru, efe a ferthyrwyd y' Merthyr Dyfan yn sir Forganwg.* Gwel achau saint ynys Brydain

§ *Rhyfel y groes y gelwid yr ymosodiad gwresog a gynhelid drwy'r deyrnas, i gasglu cynnorthwy i ddinystrio Mahometaniaeth.*

A *Sulien*, iawn y sylwer,--gwr astud,
Oedd gristion tra thyner,
Yn dangos yn achos Ner,
Trwy undeb, bob tirionder.

Tra maith a rhy-faith yw rhifo--'r dewrion,
Gwyr hoff heirddion, fu'n gwar hyfforddio;
Holl fawrion yn llafurio;--llu'r Diafol
Cry' niweidiol oedd i'w cernodio.

Rhyw ddrych o fawrnych a fu,--anniddan
Yn nyddiau 'r merthyru;
Pabyddion heigr leddfon lu,
Wyr hudol, yn afradu.

Rhyddid ni welid mewn alaeth,—a gwae,
A gwg erledigaeth;
Uno gwyr i ddwyn yn gaeth
Bob eddyl dan Babyddiaeth.

*Harri* 'r seithfed
Yn amgyffred } oedd y driniaeth:
Wedd druaned
Dygai 'r weddus
Fun goleddus, } i'w frenhiniaeth.
Firain, hoenus,

Unai 'r ddwyblaid wahanol—a'i gilydd,
Un galon heddychol:———
Dechreuad y wych reol,
Iddei ryw dda'i ar ei ol.

ewr weddwr hael ei drwydded,—wedd eryl,
O edd *Iorwerth* y chweched,

Rywiog wr a ro'i aur ged,
Ac effraw ei amgyffred.

Rhai gwyr gaid yn rhagori,
Yn eirioes yn ein hoes ni;
Syr *Watcyn* riddyn reiddiwr,
*Tomas Picton* eon wr;
Tewynodd gwawr fad hinon,
Lwydd maes trwy *Ardalydd Mon*:
Trwyddedawg eu traidd ddidor,
I gadw hedd i hardd sedd *Sior.*

Dalied Brython, yn dirion hyder-wych,
Gywir weiniadau y gwyr hynod-wych,
I gadw 'n ddilid ein Rhyddid rhiedd-wych,
Mewn coffadwriaeth am ein Cyff dewr-wych,
Tra b'o, ar untro drwy'r entrych,—dreiddiad
Ser, haul, a lleuad—siriol eu llewych.

Tra-dewr dan *Sior y Trydydd*,—yw'r heddwch,
A'r rhyddid in' beunydd:——
Ni welwyd oll—dan haul dydd,
Fad wyneb fwy dywenydd.

Y'magwyrydd amgaerol—ein hynys
Wen, enwawg ei rheol,
Wych o rin—lle ni chair ol
Un estron law ddinystriol.

Hyfryd ddedwyddyd, yw'ndyd diau--urdd-
I arddel ein breintiau; (wawr
Llafar hedd,——heb i'n llwfrhau
Unrhyw estron na rhwystrau.

Hynod lawn-werth——ein Duw, o'i haelioni,
Yn rhoi hylwydd lywydd i'n rheoli;
A da gynnaliaeth i'n digonoli,
O bob hyfrydawl, radawl fawrhydi,
Lân air efengyl i ni——'n addewid,
A gwiw-der Ryddid yn gadair iddi.

Er meddu alaf, ormodd a welid,
Y gu deyrnas enwocaf gadernid;
Tra byddo arlwybr try baeddu, erlid,
Ni wna gyfoeth ond ennynu gofid:——
Yr arian a'r *mererid*,——ie aur,
Mynyddau rhuddaur; mwy yw nawdd rhyddid.

Darweinia der Awenydd,
Y mawl i'r Ion am le rhydd;
Na bo'th fawl bythawl yn bod,
Ond da ddefod Duw Ddofydd.

Brysiwn at borth hardd breswyl,
Yn nhy Dduw,——y newydd wyl;
Magwyrawl wlad ddi frad fry,
A bery fyth heb arwyl.

Gwlad nad oes oerloes erlid,--waith arfau,
Na therfyn ar Ryddid;——
Ond seiniaw goruwch llaw llid,
Fwyn AWEN ddigyfnewid.



# ENGLYNION

I ANNERCH

ANRHYDEDDUS

*Gymdeithas y Gwyneddigion,*

AR DDERBYNIAD

YR ARIANDLWS

AM

*YR AWDL RAGFLAENOL.*

GYRAF anerch i gorf enwawg,—llawn-dysg
Sy'n Llnndain ardderchawg;
Arhosed i'ch glod wresawg,
Yn brif wyr heinif, yrhawg.

Er y'Mon geirwon gawri,—nid amgen,
Wneud ymgais i'm soddi,——
Digas wyf ;——ys dygais i
Yr Arian Dlws i'r Yri.

Cofio'r wyf eich cu fawr rodd,—a moddus
I'm meddiant y deuodd;
Y gwyr mŷg, mewn goreu modd,
Drwyddoch i'm llaw fe dreiddiodd.

Delwad, iw ddirnad, hardd arno ;—hefyd
Anhafal waith cerfio ;

A dawnus flwch am dano,
Ar wedd falch, i'w urddaw fo.

Rhyw dueddiad, wyr diddan,—sy' ynwyf
I seiniaw 'ch clod weithian ;
Heddyw i'ch gwydd haeddech gan,
Siriol, am eich *Tlws Arian.*

Yna rhed eich anrhydedd—ardderchawg,
Orenwawg, wâr rinwedd :
Llewychu 'r y'ch--llachar wedd,
Ser gwenawl, asur gwynedd.

I'ch meddiant llwyddiant, wyr llen,—a fytho
I faethu'r gain Awen,
A chadw'n faith ein hoyw iaith hen,
Ddewis gu-iaith, ddisgywen.

Gweis gyrddawl, a gosgorddion—iawn ydych,
Hynodawl, i feirddion :———
Ger eich llaw na foed braw bron,———
Dyna ddymuniad *Einion.*

Wyneddion gyrddion ac urddol,—doethion,
Sydd gymdeithas unol ;
Bydded eich egin buddiol
Un fad archwaethiad o'ch ol.

Gyda chan, gwedi'ch einioes—ddiweddu
Yn ddiddan mewn dewrfoes ;
A phalmwydd, nwydd eirioes,
Yn nhy Dduw mewn newydd oes.

# *Awdl Marwnad*

# SARAH DAVIES,

*O'r Bont Newydd, gerllaw Caernarfon.*

Yr hon a ymadawodd a'r byd

MAI 15, 1816.

" *Ni eill da byd, ennyd awr,*
" *Estyn einioes dyn, unawr.*"
W. LLEYN.

PA ryw lef, dromlef oer dra,—aruthrfawr,
Ing erfawr angorfa:
Gorthrwm, megys plwm yw'n pla;
Cledd Serigl, claddu *Sarah!*

Ow! briddaw gwraig sobreiddiawl;--y coddiant
Sy'n cuddiaw pob rheol:—
*Sarah* oedd gall, a siriol,
Mae rhwyg yma ar ei hol!!

Dinam yw fod gofid ynwyf—beunydd,
P'le bynnag yr elwyf:
Pruddhad,--tynai 'n gwlad dan glwyf,
Oer gwynion, er a ganwyf!

Rhwyg anafus megys rhyw gnofa,
Pell y golled,--pwy all ei gwella!

Hynod wenwyn, hwn a'n hedwina :———
Braw oedd i siroedd briddo *Sarah*.

Hy-rwydd fu dreiddiad ei heirdd tadreddion,
A'n wys garuaidd ymmysg goreuon ;
Yr oreu ei sylwedd ar yr iselion,
Feiaidd ddoniau at bob rhyw o ddynion :—
Dilcai groes o ddadleuon--heb rodres,
(Hygar ei mynwes) a'i geiriau mwynion.

Mammaeth dda odiaeth ydoedd,--in' yma,
Fu'n amwyn llaweroedd ;
Dewisol iawn,--di-sal oedd,
I lawer o deuluoedd.

Y bobl o'i herwydd bawb a alarant,
Diau, safadwy y dwys ofidiant ant;)
Mewn nych hir-ddwys; ie, mwy ni chwardd-
A llawer teulu sy 'n llwyr eu toliant :———
Oer alaeth, hir yr wylant,—mal cefn-llif,
Agro redlif, eu deigr a orhidlant!

Pa wedd angau,--pa wall,—yn ddigysur,
Na ddygasit arall ?——
Sengi ar ddynes angall,
Iw rho'i 'n gudd,--yn lle 'r un gall.

Didwyll, ac heb newidiadau--ydwyd,——
Niweidiol dy ddyrnau :——
Wrth arwyddion y fron frau,
Dengys portreiad Angau.

Ni chilia, er gwych olud,
Gwaeddi tost,--nac eiddo Tud :

Ni chudd na cholled, na chwyn,
Er ein mwyn yr un munud.

Ni ddyd angau yn nydd y dynged,
Er enw, a mawredd, yr un ymwared;
Er ein rhagorwaith,——er un rhyw giried;
Yn rhwysg ei allu, ni rusa golled;
Derbyn raid in',--nid arbed--er cwynion
Cannoedd o weinion, nac un adduned!

Annelwr at ddynoliaeth——yw angau,
A'i ingawl ysgariaeth;
Pob wyneb heb wahaniaeth,——
Nid oes un ond nod iw saeth.

Coeliwch mae'n dristyd calon—niweidiol,
Lle nodawdd yr awr'on:
Cannoedd ydyw rhif cwynion
Y chwe' sir o achos hon.

*Sarah* fu loywaf seren,
Yn awr aeth i lawr dan len:
Er llifiant oer a llefair,
*Sarah* deg,—ni sieryd air!

Yn lle byd, tristyd trwst-oer,
Iach yw ei lle uwch y Lloer.

Gwiw rad y pen Gwaredwr,
Fo'n hynod gysgod i'w gwr;
A'i theulu, ar waith hylwydd,
I gadw ei lle, gyd a llwydd;
Deled, gwedi diwael-oes,
Nawdd Dduw, yn y newydd oes.

# ENGLYNION

*A fyfyriwyd ar foreu teg, wrth glywed yr Adar yn canu.*

—ooo—

MAE'r Adar, O! mor odiaeth,—anwyl-weis,
Yn eiliaw *Peroriaeth*!
Adseiniant frwd wasanaeth,
Yn gain oll, i'r un a'u gwnaeth.

Ar laswydd tyner leisiant,—y boreu,
Yn beraidd emynant;
Mo'r gyson tôn ar bob tant,—
Gwau 'n felys gân o foliant.

Dilesg goruwch y dolydd,—hwy byngciant
Hoyw bencerdd dafod-rydd;
Cain eiliant i'w cynnalydd
Yn fad ar doriad y dydd.

Dewr-lais, per-adlais prydlon,—o'r goedwig,
Ergydiodd i'm calon;
Dylammai, cynnhyrfai hon,
Fel ewyn dafl y weudon.

Er aros dan yr *Eira*.—fyd di-wymp,
Anfad dywydd *Gauaf*,
Can yr adar hawddgaraf
Yn ddiwyd ar hyd yr *Haf*.

Yn y cwymp, ogwymp eigion,—iselwyd
Gwir sylwedd cau dynion;

O'i nawdd teg—anhuddwyd hon
A chnwd o ddeifn ochneidion.

Er gosod dyn mewn mawr gysur—dilys,
Yn delaid ei natur :—
Gwael iawn swydd, drwy'r gelyn sur,
Och, wedi ai'n bechadur!

Yn hyn yr hedyn aur *Haf*,—o'r adwyth,
A redodd yn *auaf;*
Myn'd o breswyl anwylaf,—
Yn euog noeth,—o dan wg Naf!

Dyma rym odfa adfyd,—a dd'rysodd
Yr iesin ddedwyddyd;
(Och! alaeth,) i ddychwelyd,
Ar wahan, y gan i gyd!

O rad ein hael Waredydd—godidog
E gaed wedy'n haf-ddydd:
Clywaf Adar gwar mewn gwydd
Accw yn hoywwau can newydd.

Urddasol, dan wraidd isaf—ein codwm
Ai 'n Ceidwad anwylâf;
O'i farwolaeth (fawr alaf)
Y dwthwn hwn, daeth in' *Haf*.

Addysgwn y ddewis-gerdd—oreu-deg
Gyd a'r *Adar* mwyn-gerdd;
Prydu i'r Ion gyson gerdd,
Adlais hoyw-gain, dlos wiw-gerdd.

Gwir achos y GORUCHAF,—Ri addwyn,
A rodder yn flaenaf;
Cyn hwyrhau ein cynhauaf,
Trwy bur hwyl, tra b'o yr Haf.



## ENGLYNION

*O ddiolchgarwch i Mr. Rhys Williams Craig y Pandy Llandegai, am Ddulestr* (Inkstand.)

——ooo——

CYFEIRIAF, treiddiaf at *Rhys*—ap *Wiliam*,
Pwy ail ei ewyllys?
Gwir folawd aur frawd ar frys
A dafal i'r gwr dilys.

Dilys ewyllys ollawl—garedig,
Gwr ydyw serchiadawl;
Gweddai i ni 'n gyhoeddawl,
Ganu iddo fwyngu fawl.

Mawl iddo, ac mewn aml lwyddiant—y b'o
Yn byw ar hael ffyniant;
Bo'ed, tra byddo teimlo tant,
Y tecaf wr mewn tyciant.

Tyciant a llwyddiant i'w holl eiddo,—bo'ed,
Heb adwyth yn llwyddo;
Unrhyw aflwydd, dramgwydd dro,
Yn ddiles byth na ddelo.

Na-ddelo drwg iw ddilyn:—ni chefais
Na chyfaill na pherthyn
Yn ail i Rhys, ddilys ddyn;
Bu ufudd heb ei ofyn.

Gofyn mewn unrhyw gyfarch—ni ddarfu'm,
Neu ddirfawr ragorbarch;
Nid chwylbwngc nod uchelbarch
Waith dyri fu'n peri parch.

Parch ollawl, purwych allan—a roddodd,
O'i rwyddaidd hael anian;
Nid trwy ddichell, cymmell cân,
Y daeth ei rhoddiad weithian.

Weithian, er diddan dueddiad,—rhoddes
Y rhwyddwr hael gariad
Ddulestr, un hardd ei ddelwad,
Heb ymchwydd yn rhwydd a rhad.

Rhad alwad, daliad dilys,—a'i dygo,
Rhag pob digwydd echrys,
Drwy gariad, heb dro gwrys:—
Llwydd rhad ar holl eiddo Rhys.

# CAROL PLYGAIN.

*I'w ganu ar y mesur a elwir* Old Darby

——ooo——

YR awr'on *Purorion* pêr araith,
Adseiniwn mewn afiaeth yn un;
I byngcio'n fwyn brydlon bêr odlau,
Cyweiriwn ein tannau'n gytun;—
Agorwn blethedig Gerdd seingar,
Yn hawddgar, a llafar ein llef,
O foliant, gogoniant gwiw union,
Yn un â chanyddion y nef:
Llawenydd yw'r newydd dan awyr,
Caiff amhur bechadur iachad;
Datguddiwyd, agorwyd trugaredd,
Drwy rinwedd Etifedd y Tad.

2 Gwir sylwedd ein testun godidog,
Dyfodiad Eneiniog y nef;—
Ni fedd yr angylion, amgenach,
Un testun rhagorach nac ef.
'R oedd daear a nef yn cyd lefain,
Clybuwyd ar blygain eu bloedd;
Yn unol odiaethol gymdeithion,
Canmsant yn gyson ar g'oedd:
Ni chafwyd i ran daearolion,
Annoethion rai gwaelion eu gwawr,
Na lluoedd y nefoedd ddisglaer-wedd,
Un achos gorfoledd mo'r fawr.

3. Rhyfeddod na's dichon ei thraethu,
Dyfodiad yr Iesu, mawr, hael

I wisgo dynoliaeth w'radwyddus,
Mewn oes gynfigenus, a gwael!
Er hyn 'r oedd y ddeddf yn gynhyrfus,
Cythraddus, a gwgus ei gwawr,---
Uwch ben y pechadur, yn danod
Ei gwymp, a'i ddwfn bechod bob awr;
Nid ydoedd cael Crist yn ein natur,
Yn iawn dros bechadur, ychwaith;
Roedd rhaid iddo farw ar y croes-bren,
Mae'n ddiau cyn gorphen y gwaith.

4. Ac yn ei lafurus farwolaeth,
Rhyw fawr fuddugoliaeth a ga'ed;
E redodd fel afon ddylifol,
Rinweddau rhagorol y gwaed:---
Yn hyn rho'ed y ddeddf mewn distawiad,
Ca'dd ei holl ofyniad yn llawn;
A pherffaith gyfiawnder difrifol
Yn gweiddi yn gysurol "ce's Iawn"!
O gwel, y damnedig bechadur,
Ragorfraint a chysur—gwych hedd;
E ddarfu dy brynwr agoryd
Ffordd newydd i'r bywyd o'r bedd.

5. Ond eto na feddwl, bechadur,
Y gelli fyw yn segur a sych;
Rhaid bod, er holl waith y cyfryngwr,
Yn wiliwr a gweithiwr tra gwych.
Gwaith Duw yw rhoi cynnydd i'r ddaear,
I ymddangos yn lliwgar ei llun;
A'i dyfal lafurio, am ei fywyd,
Bob pryd ydyw diwyd waith dyn.
Ni ddaeth yr Iachawdwr bendigaid

I achub yr enaid (gwir yw)
Heb brawf o'i ddioddefaint mewn proffes
Yn glynu'n ei fynwes wrth fyw.

6. Gan hyny ni's dylem orphwyso,
Ond ymddwyn yn effro drwy'n hoes
I ddatgan mawrhydi'r Creawdydd,
A dilyn ei grefydd dan groes:
Troi cefn ar deganau llygredig:
Siomedig, gwywedig a gwael;
Gwynebu ar yr addfwyn Anwylyd,
Y fan lle mai golud i'w gael.
Ry'm oll yn gwiw adde'n gyhoeddus
Fod Duw yn ddaionus i ddyn,
Ac eto, gan hudol, goeg chwantau,
Yn gwrthod ei byngciau bob un.

7. Bo'ed Crist yn ein dyfal ragflaenu
Yn ebrwydd, a'n tynu at y tad,
Drwy'n symud o'n gwlad enedigol,
Sydd ffol, anystyriol ystad:
Braenaru'r hên galon gildynus;
A phlygu'r ewyllys i'r iawn:—
Trefn ddoeth ein Creawdwr, heb dywyllwg,
Yn amlwg, i'r golwg a gawn.
Y diffyg yw eisiau adnabod
Teilyngdod y Drindod lân drefn
Am godi pechadur gw'radwyddus
Yn gyfaill derchafus drachefn.

8. Lledaned efengyl y nefoedd,
Drwy bob rhyw ynysoedd yn awr,
I ddatgan ar gyhoedd, yn groyw,

Y rheol am enw Duw mawr.
Taweled y rhyfel terfysglyd,
Dychrynllyd, sydd waedlyd ei wedd;
Y cleddyf crogedig a gadwer
Drwy'r byd, a chyhoedder gwych hedd.
Boed ini ryfela'n ysbrydol
Yn erbyn y diafol a'i dwyll;
A rhodder i Dduw y gogoniant
Diffuant, drwy ffyniant a phwyll.



## CAROL PLYGAIN.

*I'w ganu ar* Greece and Troy.

*—ooo—*

HWN ydyw'r pryd enwedig,
Yr hynod wyl Nadolig,
Parchedig a nodedig ydyw'r dydd;
Ond nid i foddio natur,
Yn oestad, heb iawn ystyr,
Yn amhur fel cyd dreiddwyr
Mewn cnawd rhydd.
Prif amcan ein cynnulliad
Yw dal yr hên arferiad mewn bwriad bâs,
Gan gadw'r ddefod ddwyfol
Yn ôl syniadau cnawdol,—hyn sydd felysol flâs:
A sefyll draw'n estronol
I gorph y pwngc sylfaenol, ansyniol sydd;
A dilyn llwybr hudoliaeth,
With ganwyll ein naturiaeth,—
Yr hen athrawiaeth rydd.

2. Mae genym bawb, un ddaliad,
Yn ddifai gyfaddefiad
Am drosedd Adda ein cyn-dad aeth yn gôll;
Cair odid bawb yn credu
Fel y bachwyd hwn i bechu,
Ar adwyth ar ei deulu o'r weithred oll.
Mae genym yn gyfartal,
I gadw'r ddefod ddyfal, wamal wên,
A ffals, ddichellgar rodres
Sydd megys twyll anghynes
Y sarph, hudoles hên;
Arddangos llun allanol,
A gwiw ddynodau cnawdol, yn wrol iawn;
Ac oddi mewn yn oerllyd,
A chalon budr frycheulyd,
Yn grinllyd heb ddim grawn.

3. Wrth hyn mai'n eglur ddigon
I bwy'r y'm yn gaeth weision,
Ond ymddwyn y dibenion hyn i bwys.
Mae gan y diafl fedrusder
I ddangos ei ddisgleirder
Yn dyner, gan ymarfer pob gair mwys;
A ninau, a gwedd gyhoeddus,
Yn ddynion mor ddaionus yn ymddwyn,
A'n seiniad *defosionol*
Yn chwydd o ddawn bucheddol,
Wareiddiol fel yr ŵyn.
Pe gweler holl ddirgelion,
Hên afiach, hyll ddichellion, y galon gudd,
Yn llanw'r holl gyneddfau,
Anianol *opiniwnau*,
Ac ymrysonau sydd,

4. Ynghylch amrywiol byngciau,
Enbydus wrth'nebiadau,
Rhyw lawer o resymau dyrys sydd;
A phawb yn filwr pybyr,
A chleddyf yr ysgrythyr,
Yn ymladd, megys dewr-wyr, am y dydd,
Er cynnal nod enwedig
O grefydd arddeledig mewn rhyw lun;
Fel gwâg, eiddilaidd ddelw
Hwy fedrant fyw ar enw
'N bur hoyw heb yr un.
Fel hyn yn dall balfalu,
Yn rhith crefyddwyr Iesu, mor ddi ras;
A gwahardd llais cydwybod,
Mae hwn yn ddirgel hynod,
Dan gysgod hunan gâs.

5. A dyma 'r nôd niweidiol
Sydd ar anrheithwyr rhithiol,
Mewn amgylchiadau bydol, yma 'n byw,
Drwy goledd am ddirgelion
Uwch dyalldwriaeth dewrion,
Ac ymdrin pethau dyfnion,dwysion Duw;
A gadael yn farweiddiol
Y peth sydd angenrheidiol ini, a rhâd,
Gan rhoddi 'n wastad ystyr
Ar bell ddadleuon natur,
Sy'n llafur di wellad.
Pennodi'n ddewr ar gyhoedd
Am ddull y ffordd i'r nefoedd yn ddi nam;
Ond eto er ein manyled
Yn medru ei gwych amgyffred,
Heb gerdded hyd-ddi gam.

6. Nid felly'r cywir gristion
Sy' a goleu o fewn ei galon,
Ond cyson rodio'n dirion ar ei daith;
Fe addef Grist yn feddyg
Drwy brofiad dwys, heb ryfyg,
Ac nid fel un dychymyg ofer chwaith.
Mai gan gredadyn duwiol,
I'w fynwes, y tufewnol, ysbrydol braw';
Ac nid yw'n un a'i anian
Dderchafu ei enw ei hunan,
Na throtian yma a thraw:
Mai hwn yn effro amgyffred
Ei galon dywyll, anghred mewn lludded llawn;
Ac yntau'r dyn cildynus,
Ei galon ofergoelus
Sydd yn gysurus iawn.

7. Pob un sy' 'n medru ystyr,
A theimlo pwys ei ddolur,
Mae hwn yn byw drwy lafur, drael ei oe
Wrth rodio mewn peryglon,
Ynghanol ei elynion,
Ni chaiff yr enaid graslon ond y groes:---
Tra b'o'n dirynu'r anial
Mae yn gweddio'n ddyfal iawn ar Dduw
Mewn dyrys orthrymderau,
Ofidus aml brofiadau,
Yn boenau tra f'o byw!
A hwn fydd yn feddianol
O'r etifeddiath fuddiol, uwch bydol boen,
Heb groes, neu dduloes ddialedd,
Ond gweini hir ogonedd
Am rinwedd gwaed yr Oen.

3. Wel frodyr, un fwriadau,
Diolchwn am ein breintiau,
Hyfrydol,lawn gyfreidiau, gwiw fawrhad:—
Fe gadwodd Duw yn gydwerth,
Er pob Anghenfil anferth,
Ein hanwyl ynys brydferth rhag y brâd.
Offrymwn ein haberthau,
O lanwaith bur galonau, ben borau 'n bêr,
Fel gynt y maeth-lu y' Methle'm,
Addoli 'r hwn a ddylem,
Wrth sail goleudrem ser.
Er allo diafl, a phechod
Mae 'n haeddiant Crist iawn gymmod ini gyd;
Ac yn ei enw dwyfol
Ceir dygiad gwaredigol
Draw i'r anfarwol fyd.

---

CAROL PLYGAIN.

*I'w ganu ar y mesur a elwir* Bird.

—ooo—

PLANT dynion dowch, deffrowch yn ffraeth;
Fe ddaeth yn foreu ddydd.
E d'wyna 'r dydd i dynu (daeth)
Yr hwn oedd gaeth yn rhydd.
A dyma'r Wyl y d'ai mawrhad
I'r dynol had di lyth;
A rhwysg y diafl a'i ddichell dost,]
A gloed wrth bost am byth!
Agorai fron trugaredd fry

I arbedu 'r ddirfawr boen;
Heddychu r ddeddf a'i greddf oedd gref;
Distewi llef ofnadwy 'r Nef
Wnai Ef;—y purlan Oen,
I rai dau nych, mor wych o werth,—
Yr aberth mawr ei ras,
Er attal llid,—rho'i taliad llawn,
O'i ddynol ddawn, yn hwyr brydnhawn,
A'i wedd fel cyflawn was.

2 O! mor ryw bêr y'moreu 'r byd
Y rho'ed dedwyddyd dyn;
Y dyn yn ben ar bob peth byw;—
A dyn a'i Dduw oedd un:—
Yn un a deddf ei luniwr doeth,
Yn byw mor goeth, a gwych;
Yn llawn dda 'i fyd, a llon ddi feth,
Ni wyddai beth oedd nych.
Duw a wnai wraig, yn dyner un,
I'r dyn,—o'i asgwrn daeth;
Dau briod ffel yn byw mewn ffawd,
Yn chwaer a brawd, heb lun tylawd,
Un gnawd;—Efe a'u gwnaeth.
Ar Eden ddôl fe ro'ed y ddau
Y'mysg y ffrwythau hoff ryw;
Drwy dwyll y sarph, a'i dichell sur,
Aent dan y cur, o'u cyflwr pur,
Yn dostur dan ŵg Duw.

3 Drwy 'r codwm caeth e ddaeth i ddyn
Ing lun, angeuol loes,
O goelio gwŷn y gelyn gau,—
Mawr wall y morau 'i oes!
Am dori'r gair, eglur-air glân,

Fe dro'ed eu hanian hwy
Dan gerydd barn ac angau a bedd,
Fawr gledd foreuol glwy!
Er gosod dyn mewn cyflwr doeth,
Yn goeth, mewn harddaf gwawr;
Y'ngkysegr Duw i fyw rho'ed fo,
*Paradwys* fro;—ond trwm yw 'r tro,
Maluriai hono i lawr:—
Trywaniad syn, truenus, serth
I lawr mewn anferth lun;
Nid oedd un gwobr i heddychu gwedd
Cyfiawnder gledd,—heb feichiau hedd
I dalu am gamwedd dyn.

4 Nid oedd un lle i gael gwellad
I rwygiad dynolryw;—
Un naws, na dawn, hyd ne's y daeth
O dyner Arfaeth Duw.
I hyn fe ddai'r Mesiah'n ddyn
I dynu'r colyn câs;
Agorai ffordd i bob gwir ffydd,
Gael byw dan grefydd gras.
Os Adda a'n troes i'r gaethglud drist,
Enillodd Crist ni 'n ol;
Efe yw 'n tŵr, mae 'n fyw o'n tu;
Gwarchaeodd lu y *Diafol* du
Rhag ffynu ei amcan ffol;
O entyrch ne' Efe o'i fodd,
Ymgrymodd ar y groes
I brynu dyn (y Brenin da)
Oedd druan dra, a blin dan bla;—
Bo'ed *Haleluiah* i'r loes.

5 Mae gras yn Nuw i'r eiddil noeth,
Yn gyfoeth hawdd ei gael

Ac eli hedd i wella'i glwy'
Pa beth sydd fwy o fael?
Gan hyn deffrown, a chlyw'n wych lef
Yn d'od o'r nef yn awr:
Add'wydion braint sy'n dod heb rif,
Fel afon lif i lawr.
Heb wrthod baich, i barth y bedd
Gostyngai'r Mawredd mâd
I gario'n pwn, y gwar-oen pur,
Dan gyfyng gur, yn dyoddef dur
Gan eiddig wyr oedd gâd.
O drymed llwyth, da'i rym y llid
Yn ofid arno Ef!
Fe rwygai'r llen o'r nen i'r llawr,
A'n daear fawr, mewn nych yn awr;—
Newidiodd gwawr y nef.

6 Heb ruso ca'dd yr Iesu cu
'I aberthu dros ein bai;
Yr un difeius, rhyglyddus glân
Yn neddf le yr aflan rai;
Mewn gweddi bu 'n gogwyddo'i ben
A'r greulon bren y groes;
Fe rodd ei hun, er ein rhyddhau,
I lawr hyd angau loes.
I ben y daith, drwy 'r gwaith yn gu,
Da'i'r Iesu yn llawn o rym;—
I dir y byw, drwy angau a bedd,
Er gwaethaf gwedd gelynol gledd;—
Pob rhyw ddigllonedd llym.—
Gogoniant fyth, ar gân o fawl,
A fyddo i'r dwyfawl Dad
Am drefnu ffordd, a gosgordd gwych,
I enaid sych ddinoethi ei nych,
A gwisg y lon-wych wlad.

7 Difered gwin, o rin yr Ior,
Fel mor o drysor maith
I'n tynu, yn Nuw, o'n ffyrdd yn ol
At ei rinweddol waith.
Gochelwn brawf o roddi'n bryd
Ar dlysau'r byd a'i boen;
Adeiliwn dŷ, yn gry, ar graig
Yr eglwys, gwraig yr Oen,
Mewn llonydd wyl, y lle ni ddaw
Un math o fraw i'r fron;
Ni all y *Diawl* a'i holl ystor,
Nac awyr, môr, ddim chwalu ei chôr,—
Y'mynwes Ior mae hon:
Tu fewn i serch y fynwes hon
Mae i dylodion wledd;
Bydd ger eu bron hawddgaraidd bryd,
Mewn castell clud, o drysor drud,
Er gwaethaf byd a bedd.

8 Efengyl Ior a daeno ar led,
Drwy'r holl-fyd heded hi,
Megys llyfr i nodi'n llawn
Yr Iawn fu ar *galfari.*
Chwychwi, rai draw, na fyddwch drist;
Mae Crist yn addaw craig
I ddyn a saif yn Ddinas wych,
Arswydol ddrych i'r ddraig;
A hon yw sail ei eglwys Ef,
Mae'n angor gref mewn gras.
Yn Seion fro bydd *cordio* cân
Pan fo' gwahan y diluw o dân
Drwy'r lydan ddaear las:
Derchafwn lef, i'r nef yn awr,
Am ran or werthfawr ŵyl

Goruwch y ser, mewn llawnder llon;
Nid all un don anhuddo hon,
Sy' yn Nuw mewn hoyw-lon hwyl.

9 O am gael iawn, hoffeiddlawn ffydd,
Er budd i farw, a byw
Yn eiddo i ras, dan nawdd yr Iôn,
Yn gadwedigion Duw;
I ddwyn ar g'oedd i'r eiddil gwan,
Wrth dreulio egwan oes,
Yngwyneb llwyth o bechod llym,
Fod grym yngwaed y groes.
Duw, da ei nawdd, dihuna ni
I'th foli di 'n ddi feth;
Er mwyn dy barch na âd ein bod,
Mewn cnawdol nod, yn canu clod
Heb wybod am ba beth:
A dod yn awr, Duw dad, i ni
Y grym i godi 'r groes.
Wel dyma 'r pryd a'r ennyd rydd;
Hwn ydyw 'r dydd, trwy gywir ffydd,
I addurno'r newydd oes.



## CAROL PLYGAIN.

*I'w ganu ar y mesur a elwir* Miller's Key.

—ooo—

HIL Adda, 'n orfoleddus,
Adseiniwn felus fawl,
Oll yn unfron, mewn llawenfryd
Mwyn, hyfryd, am ein hawl;

O weled boreu newydd,
Llawenydd ini oll yw ;
Fe ddylem ganu mawr ogoniant,
Addoliant yma i Dduw.
Trugaredd ryfedd ri', a nesodd atom ni,
(Haelioni mewn hwyl enwog)
Trwy gariad Duw trugarog,
Yn fraint ardderchog fri.
Rho'i cân, â moesau cu,
Am hanes Crist yn hy,
A hyny, mewn dwfn hunan,
I ddallu 'r byd oddi allan,
Nid yw ond dwrddan du.

2 Mae llawer heddyw'n canu
Am eni'r Iesu o wraig,
A'i fod Ef ini'n fywyd unol,
Yn gref, ragorol graig:
Craig rwystr i bob estron,
Fel i'r Iuddewon, fydd
Nes ini ei gyraedd E'n ei gariad
Drwy brofiad calon brudd.
Ein pechod ydyw'r pwn,
A ddarfu ymdaenu'n dwn,
Na welwn ffordd gymedrol
Tra pery'r natur gnawdol,
*Bartiol* y byd hwn.
Er llunio moesau llawn,
Ai hanes cywir iawn,
Nid ydyw'n gyflawn rêol
Heb gael yn fabwysiadol,
Fucheddol, dduwiol ddawn.

3 Nid hanes Crist ar dafod,
O draethod uchel drefn,

Fel pe bai Iesu wedi ei osod
Er cysgod o'r tu cefn;—
Yn gysgod ini gysgu
Ni's ganwyd Iesu gwyn;
Er bod trugaredd yn blaguro
Cyfiawnder eto a fyn:
Cyfiawnder, llawnder llon,
Duw'n briod yn ein bron,
Rhag ini galon g'ledu,
I'n dal yn fwyn i fynu,
A'n tynu trwy bob ton.
Mae'n berygl yma'n bod
Yn canu er mwyn cael clod,
Ymosod, yn rymusol,
I foddio 'r anufuddol,
Hunanol dan ei nod.

4 Mae ini newydd hynod,
Yn d'od ar fin y dydd,
Y ca'ed meddyg codwm Adda
O gnawd *Maria* rydd;
Ond taenu rhin yr hawes
Sy'n gyffes orwag iawn
Heb gael i'r fynwes, yn dufewnol,
Ysbrydol, ddwyfol ddawn:
Archwaethu dynol chwant
Yw cynneddf llawer cant,
Pentyrant, yn naturiol,
A chanant, yn wych unol,
I *blesio* bydol blant;—
Gwneyd moesau, lleisiau llawn,
Gwycheddol, ddoniol ddawn,
Heb brofi'r uniawn briod;
Mae'n rhaid cael nerth oddi uchod
I adnabod Duw yn iawn.

5 Rhyw galon ofergoelus,
Gildynus sydd mewn dyn,
Lle mae trysorau'r holl feddyliau,
Ing le, a'r chwantau y'nghlyn;
Nid edwyn llygaid cnawdol
Mo dwyll hunanol hon
Nes daw goleu Duw i'r gwaelod,—
Iawn briod, un a'n bron.
Rhyw brawf o ddyfnder braint,—
Cysondeb y cu saint,
O gyraedd haint wasgarol,
I ganu am Iawn digonol,—
Pwy wyr ei fythol faint?
Pob un a syched sydd,
Mai ffynon bywyd ffydd,
Ie, beunydd a derbyniad:
Agorodd Iesu, o'i gariad,
Yn rhad, warediad rhydd.

6 Mae gwir deyrnasiad Iesu
Yn dal i fynu'n faith
Er maint yw dyfais byd a *diafol*,
A'i holl erwinol waith.
Lle caffo'r gair dderbyniad
Mae greddfiad ynddo'n gry';
Ni ddichon rhwydau'r byd, a'i rediad,
Fyth blygu'r cariad cu:
O rhyfedd gariad rhad
Ein Llywydd, er gwellad,
Yn ei ddyfodiad cnawdol
I uno'r natur ddynol
A'r awdurdodol Dad.
Mae'n bryd, a phryd deffroi
Am ras, a chyd ymroi;

Cyn cael ein cloi 'n dragywydd
Mae ymgais am Waredydd,
Mewn goleu ffydd, i ffoi,

7 Mae Duw yn danfon cerydd
O rybudd yma i rai
Er dwyn eu henaid i'w dihuno
Drwy bwyll i deimlo'u bai:
Pe medrem gael y golwg
Yn amlwg arno Ef,
Oll yn gynes, gallem ganu
Yn un a theulu'r nef.
Er bod credadyn gwan
Ar fêth mewn amryw fan,
A thywyll, dan gaethiwed,
Daw dydd y cair ei weled,
Heb ludded, ar y lan.
Yn awr mae holl lu'r nef
Yn tanio'i foliant Ef
Y'niddan gartref addas,
Odiaethol, hardd gymdeithas,
Ar graig, mewn dinas gref.

8 Mae digon ini o degwch
I gael yr heddwch rhydd ;
Am hyn, fe ddylem iawn feddylio
Tra b'o'n ein dwylo'r dydd.
Gochelwn wneyd ysgafnder,
O'i *fater* ef wrth fyw,
Fel hên ystorwyr anystyriol
Am wrthiau doniol Duw:
Daw dydd bydd prudd y praw'
Pan droir yr ysgafn draw,
Ar aswy law, i'r isod
I dderbyn cosb am bechod—

O ddiwrnod chwerw a ddaw!
Ein swyddog mawr di sen
I'r hawr maluna'r llen;
Yr hwn wyd ben pob rhinwedd,
I'th enw bo'ed anrhydedd
A mawredd fyth, Amen.



## CAROL PLYGAIN

*I'w ganu ar* Ymadawiad y Brenin (*King's Farewel.*)

—ooo—

DOED *Perorion* mwynion, manol
I ganu, a synied, yn gysonol,
Pa beth y'w 'n gorchwyl yn ymgyrchu,
Fel hardd genedl heddyw i ganu?
Profwn, chwiliwn pa orchwyliaeth,
Yn gysonol, y'w 'n gwasanaeth,
A than ba nod yr y'm yn d'od
I eilio clôd helaeth;
Pa un ai'r gair, a'i fawr ragoriaeth,
A'i ynteu taro andant naturiaeth?
Ni wiw mor gwingo, heb lyw ac angor;
A rhaid cael gweddus iach egwyddor
Cyn gallu, 'n gu, hwylio'n hŷ'
Ar ganol dû gefn-for,
Trwy aweloedd trymion, i wlad dramor;
I fyn'd drosodd am y trysor.

2 Ac ar ein taith, yr ydym ninau
Yn morio'n dyn drwy'r mawrion donau;
Gan hyn fe ddylem fod yn effro,

Ac ymyfyriol iawn am forio:—
Dwys y'w'r golwg, di esgeulus;
Mae'n rhaid ymdaro'n wiliadwrus,
Neu siwr y bydd in' golli'r dydd,
Mewn tywydd *ystormus*;
Drwy dynion, sad-wedd donau arswydus,
E weddai afaelio yn ddâ ofalus.
Pa beth a dâl rhyw wâg freuddwydio,
Mewn mawr dywydd yn mordwyo?
Rhaid, gwilio'n gall, bur ddiball,
Yn lle rhyw fall huno:—
Y dyn (drwy ochel) na ymdrecho,
Fe gyll ei dir, mewn gwall ymdaro.

3 Fel hyn, yn wir, y mae pechadur
Yn ymrodio môr o wydr,
Heb ystyried (yn ddwys dirion,
Mae'n bur eglur) mo'i beryglon:
Y mae yn dra anial i drueiniaid
Fod mor ddi ymdaro a'r mud greaduriaid;
Dim ond mawrhau gweigion, gau
Deganau tra gweiniaid
I *blesio* 'r dymer â blys damaid,—
(Anwar yw,) newynu yr enaid!
Mae Crist yn gwahodd i'w gyfarfod,
A ninau 'n gomedd d'od i gymod,
Ac yn ymroi mewn drwg; ymdroi,
Heb geisio moi 'nabod;
Pa fodd i Dduw, sydd lân, ddi bechod,
O'n bywyd gwarthus, beidio 'n gwrthod.

4 Yr Iesu Grist i'n gwir hyfforddi,
Yn gu lanwaith, y'w 'r goleuni;
A'r hwn sy'n cefnu ar Grist sangcteiddlan,

Sydd yn ei hynod 'leini ei hunan:
Y'ngwlad ei natur mae fe'n rhodio;
Myn'd yn ddiles dan ei ddwylo,
Mewn dyffryn dû, yn gethog bŷ',
Heb allu gorphwyso;—
A digon anfodd (da gwn, yno,)
I'r dewraf filwr ei drafaelio.
Y GAIR sy'n dangos i ni yn bwysig,
Mae braidd i'r cyfiawn fod gadwedig;
Yn wir mae hyn yn *fater* syn
I'r adyn crwydredig,
Sydd yn enbydys fyw'n wibiedig
O dan warth du-dew, 'n wrthodedig.

5 Duw, yn y dechreu, a greai'r holl-fyd,
A phob rhyw swm sydd ynddo'n symud,
Yn dda, gysonaidd i'w gwasanaeth,—
Pur eu hagwedd, pob rhywogaeth;
A'r rhai'n a safant oll i'w terfyn,
Ond y DYN aeth iddo'n elyn,—
Yn hollol groes i'r modd y rho'es
Duw einioes di wenwyn;
Yn wrthgiliedig, noeth, gûl adyn,—
Gwyro a chamu'r gwir orchymyn.
Y dyn a fo'ed mewn stâd gariadus,
I gynyddu yn ogyneddus;
Ond, wele'n awr, wedd ei wawr
Ar lawr yn ddolurus;
Myn'd trwy anaf, nôd truenus,
A baich du oer, yn bechadurus!

6 Mae'n bryd i ninau dd'od i ystyried
Yn gysonol, iawn-gu synied,
Pa fodd y darfu i Dduw bendigaid,

Droi ei wyneb at drueiniaid,
Oedd wedi cwympo i gymaint eigion,
Dan erchyllaidd dyn archollion:—
Am borthi chwant, ca'dd Adda, a'i blant,
Ddi lesiant ddu loesion;
Yn lle cael trig-le, a byd rhywiog-lon,
Troi'r fywioliaeth trwy ofalon:
Dyma effaith cwymp anafod,
Yn nôd aswy wedi ei osod,
Ar Adda, a'i ryw, tra byddant byw,
Am ddigio Duw'r DRINDOD:—
Agorwyd drws, i angau ddyfod,
I roddi arnom erwin ddyrnod.

7 Ond Duw er hyn, da iawn y rhanodd;—
Hîl Adda o'r adwyth a waredodd;
Darparodd feddyginiaeth gynnar
I ni, cyn llunio nef na daear;
Ordeinio ei Fab yn genedledig
O gnawd y dyn, yn genad unig,
Er mwyn rhyddâd i hwn, a'i hâd,
A chodiad parchedig,
Iw ail urddasu o'i lofr-wedd ysig,
Gyd â Duw i fod gadwedig.
Gwiliwn ninau draws ryfygu
Am waith y dwyfol, rasol Iesu;
Nid ydyw Crist, fel trysor cist,
I'r angrist sy 'n cysgu;
Rhaid i bur enaid, er ei brynu,
Yn ddiwael, fanwl ddal i fynu.

8 Mae llawer iawn yn hardd broffesu,
Etto heb wybod beth yw credu;
Nid ydyw 'r gair ond llais allanol,

Erioed heb finio y rhan dufewnol,—
Dim newidiad ar y 'nwydau,
Nac unrhyw ddaliad i'r meddyliau,
Ond, troi ar ôl pob dwŷg di rôl;
Och! hudol serchiadau;
Daw gogoniant Duw o'u genau,
Ac yn elynol eu calonau: Esay 29, 13.
Sôn am Grist, fel gwr dieithrol,
Heb ei 'nabod yn brofiadol;
Rhyw rwysg di râd, a di lesad,
Y'w'r llun̄iad allanol;—
Nid y'w gymwys myn'd i ganmol,
Heb wybyddiad be' fo' buddiol.

9 Mae Duw yn gosod, er da gysur,
Fywyd newydd mewn pechadur:
Yn wir mae hyn yn achos canu
I'n Por enwog am ein prynu:
Canwn gerdd i frenin Seion,
Y'mereuddydd, am ei roddion;
Da glymwn glôd, a weddai fôd,
O'r gwaelod a'r galon
I'n gwir Iesu, yn hawddgar weision,
Fel wyn defaid anwyl, dofion.
Ti Dduw Iesu a ddewiser
I'n darostwng, bawb o'n trawster;
Dy efengyl wen, a fyddo'n ben,
Amen a ddymuner;
A'th enw ar g'oedd drwy leoedd lawer,
Yn gu haeddol a gyhoedder.

# CERDD

*Ynghylch y Caledfyd diweddar, a'r drudaniaeth ar ymborth dynolryw.*

*I'w chanu ar y mesur a elwir* Duw gadwo'r Brenin *Yr hen ffordd.*

—000—

WEL Brydain buredig,
Hynodol, enwedig,
Ti fuost guddiedig gan Dduw :—
Er cymmaint rhyfeloedd
O amgylch dy diroedd,
'Rwyt ti trwy'r terfysgoedd yn fyw:
Er cadw gwialenod
Rhyfeloedd o'th wyddfod,
Yn awr cefaist ddyrnod go ddwys;
Yr achos hwn ydoedd
It' ddigio Duw'r nefoedd,
A dynodd dy barthoedd dan bwys.
Tra cefaist yn helaeth,
O foddion rhagluniaeth,
Arferaist gamsyniaeth dwys iawn;
Dibrisio pob breintiau,—
Y nef drugareddau,
A mathru yr holl ddeddfau'n ddi-ddawn.

2 Pan oeddym mewn llawnder
Cynnyddu 'r oedd balchder,
A phob rhyw was gwychder, ar g'oedd;—
Tylawd, fel cyfoethog,
A'i dy yn flodeuog,
A hynod mor enwog yr oedd;

Y byd a ddymchwelodd,
Hynodol newidiodd;
Pob peth a gyd gwympodd yn gerth;
Mawr ydyw rhagorion,
'Does dim ond bwyd dynion—
Yr awr'on yn gyson mewn gwerth.
Fe wasgodd rhagluniaeth,
Is awyr ysywaeth,
I beri mawr alaeth i rai;
Daeth Duw a chyfyngder,
I ostwng ein balchder,
Am ymddwyn heb wylder mewn bai.

3 Yn nechrau'r gostyngiad,
Tylodion fu'n siarad,
Yn ddigon anynad eu moes,
Gan chwerthin ynghodwm
Y Ffarmwyr, a'u gorthrwm,—
'Roedd hyn i gu reswm yn groes:
Dywedant, yn ddiau,
"Nyni gawsom ddioddau;—
Yn nawr fe gant hwythau fyd tost;"
A dyma'u lleferydd
O'r goleu bwygilydd,
Cymmerant hyn beunydd mewn bost;
Ond erbyn cydnabod
Eu bostiawl drybestod,
Yr oeddynt yn barod bob ùn,
I weiddi boed llwyddiant
Hoff enwog a ffyniant
I'r Ffarmwyr,—mawr dyciant bob dyn.

4 Pan ballodd y Ffarmwyr
Y pallodd iselwyr;

Aeth pob peth is awyr mor serth,—
Dim gwaith, na dim cyflog
I nemawr weinidog-—
Anhawdd cael y geiniog na'i gwerth:
Aeth pris anifeiliaid,
Moch, gwartheg a defaid,
A phob peth cyn saled ei swm,
Fel hyn yn cyd ddodi
Y Ffarmwr, i g'ledi,
A'r TRETHI a'r ARDRETHI mor drwm!
Pwy onid y Ffarmwr
A gynnal y gwanwr,
Cefnogwr y prynwr bob pryd?
Porthwr mawr, dibrin,
O grefwr i Frenhin,
Y bonedd a'r gwerin i gyd.

5 Pe caid drwy bob cynnwr,
Fywioliaeth i'r Ffarmwr,
Doe bob peth heb lwgr i'w le;
Doe waith a doe arian
I'n gafael, yn gyfan,
Yn gymmorth i'r truan, gwlad, tre:'—
Mai hyn yn ddi amau,
Ydryswch yw eisiau
Pob peth yn gyd bwysau mewn byd,
Ac yna'n amcanus,
Pob peth yn llewyrchus
A dreuliant yn hwylus o hyd;—
Y trethi'n rhy drymion,
A'r tiroedd yn ddrudion,
Ac felly mae'r Hwsmon ar ol;
Ar gwerth aeth mor fychan,
Pe byddai farch llydan
Ddaw neb ymhen arian iw nol.

6 Daeth cerydd Duw uchod
Yn awr i'n cyfarfod,
Anhawdd gennym gydfod ag ef,
Ar ol cael blynyddau,
Tymmerus dymorau
Llawn rhadau, a noddau y nef:
Nyni wrth gael prinder
Ychydig o amser,
Sy'n grwgnach yn chwer'der ein chwant;
Am un a weddio
Er mwyn'r hyn a gaffo,
Yn tuchan neu'n cwyno, ceir cant:
Dyoddefwn yn dyner
Ychydig o amser,
Pwy wyr nad oes llawnder gerllaw;
Wel dysgwn mewn sobrwydd,
Ymddwyn gostyngeiddrwydd,
I'n hachub yn ddedwydd fe ddaw.

7 Ein haml ddrygioni
A ddygodd galedi
Mor galed i'n cosbi, modd caeth;
O achos ein pechod
Yn digio Duw uchod,
O'r diwedd ei ddyrnod a ddaeth:
Down oll yn finteoedd
Dan Frenhin y nefoedd,
Gan ostwng yn lluoedd i'r llwch;
Cawn etto'n lle prinder,
Yn landeg hael lawnder,
Ond diosg ein trawsder mawr trwch:
Doed Brydain fel teulu,
O nerth eu holl allu,
Yr awr'on i barchu Duw'n ben;

A dal yn ddi-doliant
I roddi gwir haeddiant,
I'r Duw pia'r moliant, *Amen.*



# CERDD

*Am y ddamwain alarus a fu ar Draeth y Lafan Ebrill 2, 1817, Sef i nawo bobl golli'r ffordd mewn tarth du-dew, a'r llanw a'u hamgylchodd, a hwy a foddasant i gyd ond un.*

*Ar y mesur a elwir* Trymder,

—ooo—

GWRANDEWCH newyddion, oerion aeth,
Mae'n gaeth y gwyn;
Gorthrymder sydd,—braw ing, y dydd
Bo'r angau'n dwyn:
Mewn llawer llun mae'r angau'n lladd,
Gan daro i'r gro rai o bob gradd,
Un nawdd gan hwn da gwn na cha'dd,
    Na gwan, na chawr;
Gwr hyf, a'i *gleadyf* ar ei glun,
A'i benod yw dybenu dyn,
Drwy amryw lun, ni ddeil yr un
    Pan ddelo yr awr.

2 Ar *Draeth y Lafan*, (er mawr gur),
Mae hyn a g'oedd,
Ca'dd angau llym i'w arfod wyth,
Ma'r adwyth oedd;
Ar y llaid petrusa'r llu,

Mewn niwliog darth anelwig du,
Ac yn y fan hir oddef fu,
Ar waedd yn fawr;
Ni ddaeth i'w plith gynorthwy, plaid,
Unrhyw wr wrth angenrhaid;
Nid oedd iw rhan, yn y du laid,
Ond myn'd i lawr.

3 Gwyr oedd mewn llong yn gwrando'u llef,
Pryd hyn gerllaw;
Ni wyddant, chwaith, pa le i droi,
A'i yma a'i draw:
A hwythau 'n ochain mewn tyn aeth,
Y'min y dwr mewn cyflwr caeth,
Ac yno trengu ar y traeth,
Mae'n wir y tro;
A'u cyrph yn feirwon yn y fan,
O'r du-dew laid a gaid i'r lan,
Ag arnynt sad agweddiad gwan,
Hir fydd ar go'!

4 Rhyfeddod yw,—fe achubwyd un,
I'r lan y daeth;
A gado'r lleill o dan y lli'
I drengu ar draeth;—
Rhyfeddwn weithrediadau Duw,
Yn trefnu oesau i ddynolryw,
*Un* hynod yw; fe geidw'n fyw
Fel braidd o fedd:
Mae hyn yn dangos i bob dyn,
Ei fod efe yn arbed un,
A tharo'r llall, fo' wrth ei glun,
A min ei gledd.

5 Eu ceraint sydd bob dydd yn dwyn
Mawr gwyn ar g'oedd,
Rhai am wragedd, rhai am blant,—
Yn eirw eu bloedd;
Mae galar tost trwy lawer tŷ,
Wrth gofio nod y diwrnod du,
Drwy farwol loes, a fwriodd lu
I'r ddaear laith.
Ni wyr y callaf, harddaf un,
Newidiau 'r oes ond Ior ei hun;
Er daead yw, ni edwyn dyn
Mo hyd ei daith.

6 Llaw alluog, enwog Ior,
Sy'n llywio'r lli;—
Y llanw a'r trai sydd yn eu trefn
Gan un Duw Tri;
Ei oddefiadau E, 'n ddi wad,
Yw y damweiniau y'mhob gwlad,
Rhaid iddynt hwy gael ordinhad,
Duw nef ei hun:
Mae ei eiriolaeth groyw-faeth, gref,
Yn cadw 'n addfwyn îs y nef;
Wna dim, ond trwy ei genad Ef
Niweidio dyn.

7 Na roddwn hyder ar ein hoes,
I barhau un awr;—
Yr angau sydd ymhob rhyw lun
Yn taflu i lawr;
Rhoddwn hyder bawb yn hy',
Fel gweision call yr Iesu cu,
Am rau o fraint y nefoedd fry,
A bery byth:

Lle na ddaw angau, briwiau, brad,
Na gwae na gwŷn,—yr un sarhad,
Ond annedfynol bur fwynhad,
Y wlad ddilyth.



*PENILLION ar ddull y byd terfysglyd &c.* 1817

*Cenir ar* Fryniau 'r Iwerddon.

—*ooo*—

POB calon sydd deimladwy
O'r ansafadwy Fyd;
Mewn golwg o'i ddirgelion
Sydd geimion braidd i gyd:—
Mae pob-peth wedi d'rysu,
O waith hir bechu heb ofn;
A melldith yn cynnyddu,—
Fe ddarfu wreiddio 'n ddofn.

2 Yr wybren, oddi uchod,
Yn hynod yn ei hiaith,
Sy'n dadgan ini lawer,
Drwy yr holl amser llaith:
Fe oerodd corph ein daear,
Fu'n lliwgar hardd ei llun;
Diflanai 'r llysiau llesawl,
Oedd ddidawl borth i ddyn.

3 Drwy hyn, da'i 'r mawr ddrudaniaeth
Yn alaeth atom ni,
Rhag hwn, a'i bigau llymion,
Mae'r awr'on greulon gri;

Mae pawb yn teimlo, ar unwaith,
Yr effaith yn ei rym;
Hynodol gyfnewidiad,
Fel lladdiad cleddyf llym!

4 Pan oedd y byd llewyrchus,
Yn drefnus, ar ei draed
(Er cymmaint o ffyrdd ceimion,
Yn eon, yndo a wnaed)
Roedd llawnder Rhagluniaethol,
Hynodol yn ei neith,
Yn chwyddo dynol anian,
Na welai ei wiwlan weith.

5 Yn awr, yngwyneb llawnder,
Fe ddeuodd prinder prudd;
Amlygiad gallu Dwyfol,
Amserol, ini sydd.
Yn lle croesawu rhediad
Iawn drefniad UN yn DRI,
Rhyw eddyl,* rhy awyddus,
Grwgnachus ydym ni.

*Cenedl,

6 Anghydfod blin sy'n codi,
Y leni, yn amryw Wlad;
Tylodion, cyfoethogion
Sy'n oerion, aswy eu nâd:
Mewn ystyr, nid gwaith prinder,
Ond caethder, drymder drud,
Sy'n wialen orthrymderus,
Enbydus uwch ein byd.

7 Anghydfod—hyll dynghedfeu,
Oer gynnhen, arw gainge,

A gyrchodd, mewn gwg erchyll,
Y *ffrewyll* drom i *Ffraingc*;
O achos hyn adfeiliai,
Difuriai 'r Deyrnas fawr;
Fe'i dynwyd yn yr affwydd;
O'i huchel lwydd i lawr!

8 Duw cadw Deyrnas PRYDAIN,
Hên Fagwyr gain ei gwedd,
Rhag dioddef gwaradwyddus,
A chlwyfus fin ei *chledd:*
A chadw ein hardd LYWODRAETH,
Rhag barbaraeth, fyth uwch ben;
Dyweded *Sais*, a *Chymro*.
'Rwyf yn dymuno. Amen.

---

# CERDD

*A anfonwyd gan Owen Williams o'r Waunfawr. at Richard Jones o Erwystyffyla, i ofyn pa achos fod cymmaint dadleuon rhwng Proffeswyr crist'nogol au gilydd.*

*Cenir ar* Ymadawiad y Brenin .

—*ooo*—

Y Brawd Risiard barod reswm,
Drwy genad da, mi'th galwa i gwlwm;
Gan ymholi, ond nid gwamalwaith,
Na swm elw, onid syml-waith,
Ynghylch ym bleidiau, doniau dynion,
Ai dwl ydyw eu daliadon?
Ynteu i gyd, da pawb, drwy'r byd,

Brwd, gwresog, bryd groesion;
Mae 'mhregeth pawb, o'r bron, wrandawon
Rhydd i ddywedyd rhyw addewidion;
Ond etto 'u llwybrau yn amgyffrea
Am natur gras y sydd mor groesed,
Na's gall un synwyr dyn,
Eu dilyn mewn daliad;
Os un i fynu,'r llall i wared,
Nes yw gywilydd, bron, eu gweled.

2 Fe ddywed rhai, yn dra arbenig,
Eu bod o'r dechrau'n *etholedig*
A phawb eraill, na etholwyd,
I lawr eisioes, a lwyr yswyd.
Mae rhai etto fel yn atteb,
Ac wrth hyny i'r gwrthwyneb,
Gan weiddi "ffowch, a chyd ddeffrowch,
O trowch bawb ei wyneb";—
(Mae'r ffordd, heb gudd, yn rhydd i undeb,
Ydyw haeriad eu dihareb;)
Paham yr ewch i uffern daullyd
O herwydd beius wrthod bywyd,
Neu gwympo yn gas oddiwrth ras
I'r *eirias* fawr enbyd,
A Christ yn oleu, wir anwylyd?
Ow, ofer redfa i fawr adfyd!

3 Mae croes ddaliadau etto i'w canfod,
Ond nid mor bwysfawr a'r rhai uchod,
Gan ddyweud nad oes un ffordd amgenach
Na myn'd i'r AFON; "y rhai afiach,
Chwi gewch yno olchi 'ch bryntì
Yn ddigon glan, a pheidio boddi:
O dowch, yn awr, fach a mawr,

A rhowch i lawr fudreddi
Dilynwch ni a chewch heb oedi,
Yn y nef eich gwobrwy gwedi."
Nid dyma 'r ffordd medd rhyw rai 'n eon;
Ond, dan ddisgwyliad ysbryd graslon,
O unwch fyw yn deulu Duw,
Nid oes ond annuw ddynion,
Sydd a'u mynwes yn sedd mamon,
Heb droi yma a'u beichiau 'n drymion.

4 A weli di, y Brawd mwyneidd-gu,
Fod rhyw filoedd yn trafaelu
O drigolion, drwy eu gilydd,
Yn ymboeni yma beunydd.
Ni fynwn groesi, chwaith, nag yngan,
Am un athrawiaeth iach a chytan,
Ond clod yn glir i bawb, ar dir,
Sydd gywir eu hamcan;
Ac i bawb eraill sydd na chredan',
Bydd *Anathema Maranathan.*
Ar hyn bellach, rwy 'n dybenu,
A Christ, ein Naf, a fo'n dyrchafu
Pob enaid gwiw i 'nabod Duw,
Ac iddo byw 'n deulu:
O fewn y Nef y ceir cartrefu,
Heb groes ddadleuon yn teyrnasu. O. W.



## *ATEB I'R GERDD UCHOD.*

AR YR UN MESUR.

Y Brawd Owain, wiw-bryd addas,
Gwelaf d'ofyn, galwad di-fas,

Ynghylch daliadau, doniau dynion,
(Gresyn gweled) sydd groes galon!
Nid allaf i ro'i ti atteb,
A da eir-dwys, mewn diweirdeb;
Mae'n gofyn gwedd, ond pwy a'i mêdd,
Hynaswedd, a phurdeb:
Iawn farnu'n iach, mewn cymedroldeb,
Sydd waith an'odd i ddoethineb:—
Ond gellir meddwl, fel hyn yma,
Fod crefyddwyr rai, cryf fodda',
Mewn ffwdan ffull, wyr dewr eu dull,
I ymgynull cymmanfa,
Rai TAER, UCHEL am y TRECHA,
Er dallu dynion,—dull *Diana*.

2 Nid y'w'r ymranu ond mawr wyniau,
A chwyl dramawr UCHEL DREMAU;
Balch feddyliau'n gwibiog ffroeni,
Yn anghytuno i wneud daioni;
Rhai ffordd yma, a rhai ffordd acw,
A phawb yn hynod am eu henw,
Gan gyfri'r llall, yn byw ar ball,
Yn angall eu berw;
"Ar y fath sail na wnewch fyth sylw,
Nid oes ond gweniaith gyd ag yn'w;"
Ac o'r tu arall maent yn taeru,
Yn wahanol iawn i hyny,
Gan ddweud yn glir "Nyni sy' ar dir,
Yn cywir lefaru
Yn gryf ddewisol, grefydd Iesu
Bob gorchymyn, heb ei chamu.

3 Ni a allwn dybied, wrth eu diben,
Fod rhyw ddaliad neilltu'r DDALEN;

Heb iawn brofi'r LLYFR yn gywir
I wahaniaethu gwir ac anwir;
Cam ddefnyddio'r ysgrythyrau,
Drwy'u hysbrydoli, bryd na's dylai;
A rhoddi rhai, mewn HWI, a HAI,
Yn llai na'u synwyrau,
Er mwyn dyludo at eu daliadau,
A'u gau, ddyrys egwyddorau;
A chario tyb, mewn nerthol hyder,
Eu bod yn blant i Grist a'i burder:—
Os ato fe yr ant i'r ne',
Mae'n gofyn lle lawer;
Pe rhaner hon yn bedwar CHWARTER,
Ni byddai er hyny ond bach o'r haner.

4 Os ant i'r nef rhaid cael, heb amau,
Drwyddi lawer o *balisau,*
Rhag ofn i'r rhai'n, o amryw grefydd,
(A garw gilwg) guro eu gilydd;
Os fel maent yma, 'n croes ymlwybro
Yn anghytu nol, yr ânt yno,
Fe â y Ne', fel chwareu *play,*
Rwy 'n ofni yn llegwallgo;—
Rhwng pob rhyw *sectiau* yn dyrys *actio*
Yn anfwyn iawn,—ni fynan' uno:
Os anghytunol yma a fyddwn,
Anghytynol i'r ne' y tynwn;—
Wrth fyw'n y byd, yn groes ein bryd,
Nid yno y cyd unwn:
Mae'r gair yn dweyd "y peth a hauwn,
(Diamau 'i fod) mai dyma a fedwn."

5 Rwy'n ofni, wrth hyn, y meda llawer
Ffrwythau RHAGRITH, llid a BALCHDER;

Gwrthryfela yn erbyn heddwch,
Bywiad gau, yn lle brawdgarwch;
Pa fodd i ddyn, (mewn rheol bwyllog,)
Garu Duw, casau cymmydog?
Ni's dichon hyn, medd gair Duw gwyn,
Gyd ganlyn yn rhywiog;—
A gasâ ei frawd, mewn ymgais fradog,
Ni châr Duw y chwerw DAEOG.
Er pob gorchymyn, dygyn degwch,
Roed ini gario pur frawdgarwch,
Casineb sydd, yn cario'r dydd,
Diwy'n gwledydd, yn g'ledwch:
Mae llawer iawn a'u h'wyllysgarwch,
I daro eu gilydd mewn dirgelwch.

6 Ond ydyw hyn yn eglur brofi,
Pa ryw ysbryd sy'n rheoli?
Llid a balchder, egr agwedd,
Sy' o fewn y rhain yn fwy na rhinwedd;
Rwy'n ofni, yn wir, mai hyn ar fyrder,
Fydd yn llewygu teyrnas Lloegr;
Mae amryw sên DAEOG, dên
Yn dost uwch ben balchder;
'Dyw ei fawrhydi, a'i ofer hyder,
Ond egwan lwydd, a gwaeau lawer.
Boed i grefyddwyr traws fwria tau,
Gwbl aflwyddo, gablaidd fleiddiau;
Tyfed drain ar ffordd y rhai'n,
Sy'n arwain gau lwybrau:
Ac i arddelwyr gwirioneddau,
Y bo rydid—wiw ber radau.

7 Wel, holl grefyddwyr Cymru a Lloegr,
Unwch fyw mewn isel dymer;

Nawdd Duw i ni, a newydd anian,
A chalonau i ochel HUNAN:
Nid i frochi hefo'r ucha',
Ond mawr osod am yr isa';
Gwiliwn fod, mewn uchel nôd,
Yn gosod ein trigfa;
Pob uchel gampiwr balch a gwympa,
Eur-was swyddfawr, o'i ORSEDDFA:
Hyn y'w yr atteb wy'n ro'i iti,
Yn ddwl a gwanaidd, oeraidd ddyri,
A Naf y ne i'o yn mhob lle,
A'i wyrthiau'n rheoli,
I ostwng balchder o'i fawrhydi,
Amen, Duw anwyl, mewn daioni.

## *E M Y N.*

DERCHAFAF fy llef i'r nef ar fy Nuw;
Fe wrendy fy nghwyn, un addfwyn iawn yw:
Mae Ef yn drugarog i'r euog, wâr rai
A lefo'n wylofus, wybyddus o'u bai.
Gorfoledd yw bod yr hynod Iôr hael,
A'i lygaid ar lwch,—rhyfeddwch y fael!
A mynwes dosturus, groesawus y sydd;—
O'i gariad tra thirion mae'n danfon bob dydd.
Arddelwn ei groes, drwy'r feroes wrth fyw:
Pa ddoniau, pa glod sydd ormod i Dduw?
Ni ddichon angylion sy'n nwyfron y nef
Fyth gloddio 'i ryglyddol, felysol fawl Ef.
Boed moliant drwy 'r byd, o hyd, heb wahan,
I'r Tad, a'r Mab mwys, a'r glwys Ysbryd glan;
Hy lef *Haleliwia* fo 'n uchaf drwy 'r nen:
I'r Drindod gogoniant fyth, moliant, Amen

DIWEDD.

